LLAWLYFRAU YMFUDWYR.

# CANADA:

## EI HANES, EI HANSAWDD, A'I HADNODDAU, SEILIEDIG AR BAPYRAU Y LLYWODRAETH;

GYDA

## CHYNGHORION BUDDIOL I YMFUDWYR.

CYHOEDDEDIG DAN GYFARWYDDYD PWYLLGOR Y TRAETHODAU.

LLUNDAIN:
Y GYMDEITHAS ER TAENU GWYBODAETH GRISTIONOGOL;
NORTHUMBERLAND AVENUE, CHARING CROSS, W.C.

# CYNNWYSIAD.

## DARLUNLEN O CANADA.

# YCHYDIG EIRIAU WRTH YMFUDWYR.

## PENNOD I.

1. CYMMERIR yn ganiataol fod darllenydd y llyfr bychan hwn, am ryw reswm neu gilydd, wedi penderfynu ymfudo, a gadael, naill ai wrtho ei hunan yn unig, ai gyda'i wraig a'i blant, ei wlad ei hun, a'i ddull presennol o fyw, a cheisio gwlad newydd, a dechreu ar ddull newydd o fyw mewn rhyw le arall. Caiff y cyfryw un yn hyn o lyfr lawer iawn o wybodaeth gywir yng nghylch Canada, yr hon sydd un o'r gwledydd sy'n ymgynnyg i'w ddewisiad. Cyfrenir yr wybodaeth hon gan garedigrwydd Llywodraeth Canada, a gellir ymddibynu yn hollol arni.

2. **Rhesymau am Ymfudo.**—Wrth reswm y mae pob ymfudwr yn amcan "gwella" ei hun. Y mae yn dymuno cael *gwell* gwaith, sef gwaith mwy rheolaidd a chysson; neu *well* cyflog; neu *well* sefyllfa neu safle, hyny yw, sefyllfa y bydd ynddi yn feistr arno ei hun, â chanddo ei dir ei hun neu ei alwedigaeth ei hun; neu *well* hinsawdd, sef hinsawdd mwy cyfaddas i'w iechyd. Dichon ei fod wedi cael y cydymgais, y gystadleuaeth, a'r ymdrech, yn rhy galed iddo yn yr hen wlad, a'i fod wedi methu cael dim i'w wneuthur; ac y mae, ef allai, yn edrych am agoriad lle mae dynion yn brinach; yn olaf oll, dichon ei fod yn un ag sydd, trwy seguryd, neu ffolineb, neu ddrygioni, neu drosedd, wedi colli ei arian, ei gyfeillion, ei enw da, ac wedi dinystrio pob cyfleusdra i lwyddo a bod yn hapus yn y wlad hon, ac felly yn dymuno arwain *gwell* buchedd; ac y mae yn meddwl y bydd ganddo well cyfle i gychwyn o'r newydd mewn gwlad newydd. Y mae pawb o'r dosparthau hyn, sydd yn bwriadu ymfudo, braidd yn sicr o gael yr hyn y maent yn ymofyn am dano mewn rhyw ran neu gilydd o wyneb y ddaiar. Y mae llawer o bobl, modd bynnag, yn ymfudo o Gymru a Lloegr bob blwyddyn, y rhai nid oes ganddynt un rheswm da am wneuthur hyny gyda gobaith am lwyddiant. Cynhyrfir rhai yn unig gan anesmwythder

a thuedd i newid; twyllwyd ereill gan hyspysiadau llawer rhy ffafriol, neu ynte tybiasant yn annoeth eu bod hwy yn sicr o lwyddo, o blegid bod rhyw un arall, mewn amgylchiadau cwbl wahanol, wedi ffynu. Un o amcanion y llyfryn hwn ydyw galluogi ei ddarllenyddion i farnu ym mlaen llaw a oes un rheswm da i obeithio y llwyddant hwy os ymfudant i wlad arall. Ein dymuniad yw rhagflaenu siomedigaeth yn gystal a rhoddi cynghor y gellir ymddibynu arno.

3. **Cymhwysderau Ymfudwr.**—Tebygol nad yw y rhai a ewyllysiant adael eu gwlad ym feddiannol ar lawer o eiddo neu arian. Y mae eiddo neu gyfalaf, bydded lawer neu ychydig, yn gymhwysder gwerthfawr iawn mewn ymfudwr. Ond gellir dywedyd yn gyffredin mai y dosparthau o ymfudwyr, pa un ai bod ganddynt fodd neu eiddo ai peidio, y rhai y mae y Trefedigaethau yn cynnyg iddynt yr addewid oreu am lwyddiant, ydyw *Amaethwyr*, *Gweithwyr* neu *Lafurwyr Amaethyddol*, a *Chrefftwyr*. Bydd i *Amaethwr* gydag eiddo bychan—dyweder o £150 i £500—yn naturiol edrych ar Canada megys ei gartref am yr amser a ddaw. Ac, er nad amcenir dywedyd mai gan Canada yn unig y mae manteision y rhai sy gan wledydd ereill yn gystal a hithau, tebygol y byddai i'w arian parod dalu yn ol iddo yn gynt ac yn well yn y wlad fawr honno nag mewn neb o'n Trefedigaethau mwy pellenig. Heb law Amaethwyr neu Ffermwyr, dylid nodi y gall *Gweision a Morwynion Teuluaidd* o gymmeriad da gael gwaith a chyflog bob amser yn y trefedigaethau. Teimlir y diffyg o waith benywod yn ddwys mewn trefedigaeth newydd; y mae'r cyfryw waith gan hyny yn werthfawr, a thelir yn dda am dano. Gellir ei nodi megys ffaith, beth bynnag yw ei gwerth, fod nifer mawr o enethod o gymmeriad da, pan ymfudont o Loegr, yn priodi yn fuan wedi cyrhaedd y trefedigaethau; er y byddai, bid sicr, yn beth byrbwyll myned allan â dim ond hyny mewn golwg. Y mae *breichiau cryfion a dwylaw cyflym* yn eiddo da o honynt eu hunain, yn y rhan fwyaf o wledydd newyddion, yn enwedig os byddir hefyd yn feddiannol ar ben synwyrol craff, yn gwybod pa fodd i'w defnyddio. Ond y pwysicaf o bob peth ydyw cymhwysderau moesol. Rhaid fod gan yr ymfudwr ddiwydrwydd siriol, parod i ymgymmeryd ag un peth, heb fod uwch law un math ar waith

gonest; rhaid iddo feddiannu amynedd i ddisgwyl am lwyddiant, a chalondid i ddyfal barhau er gwaethaf pob anhawsderau ac ambell fethiant; rhaid iddo wrth *gymmedroldeb* a *sobrwydd* i gadw ei gorff a'i feddwl yn addas at ei waith; rhaid iddo arfer *cynnildeb*, er mwyn darparu ar gyfer tymmorau drwg, neu afiechyd, neu henaint; a rhaid fod ganddo *ymddibyniaeth arno ei hunan*, gan y rhaid iddo feddwl a gwneuthur drosto ei hun yn llawer mwy mewn gwlad newydd nag mewn un hen.

4. **Dewisiad o Wlad Newydd.**—Ond er y gellir cefnogi dynion â chanddynt y cymhwysderau crybwylledig i ymfudo, eto byrbwyll ac ynfyd yw meddwl fod pob gwlad allan o Gymru a Lloegr yr un mor gyflëus â'u gilydd i bob gradd a dosparth o ymfudwyr, neu dybied nad yw o fawr bwys i ba le yr â dyn, pa un ai i Canada, y Taleithiau Cyfunol, Awstralia, neu Zealand Newydd, ond iddo yn unig ymfudo. Y mae llawer wedi dyfod yn ol i'r wlad hon wedi eu dirfawr siomi, ac wedi dywedyd mai camgymmeriad yw ymfudo; pan mewn gwirionedd eiddynt hwy eu hunain oedd y camgymmeriad, wrth beidio ag ystyried yn ofalus pa le yr oedd y lleoedd a'r amgylchiadau addasaf iddynt. Ymfudo yn gyffredin sy gam a gymmerir unwaith am oll. Nis gellir ei ddadwneuthur ond yn unig trwy fawr golled ac anhawsder, ac o herwydd pa ham, dylid cymmeryd y gofal mwyaf na byddo yn gam anghywir neu gyfeiliornus. Ni ddylai y neb sydd yn bwriadu ymfudo ymfoddloni ar glywed fod Hwn a hwn wedi myned allan i Awstralia a gwneuthur ei gynnysgaeth. Rhaid iddo ystyried ei anghenion ei hun, a pha beth yw ei foddion a'i alluoedd; ac yna cael allan pa le y gall efe ddefnyddio y moddion a'r galluoedd hyn i'r buddioldeb mwyaf. Ac y mae llawer o wledydd newyddion yn agored i ddyn, â chan bob un o honynt, ef allai, rywbeth a'w chymmeradwyo. Pa fodd y gall ef gael allan pa un o honynt sy fwyaf cyfaddas iddo ef? Od oes ganddo gyfeillion synwyrol, y rhai sydd wedi myned allan eisoes, y rhai a wyddant beth ydyw ef, a pha beth a all efe ei wneuthur, gallant hwy ei gynghori. Ond, os na bydd ganddo y cyfryw, y mae yn Llundain gynnrychiolwyr, bron, i'r holl drefedigaethau Prydeinig, a'u tiriogaethau dibynol, a'r gwledydd tramor, y rhai mae ynddynt leoedd agored i ymfudwyr. Y mae y rhan fwyaf o'r rhai

hyn yn cyhoeddi papyrau byrion yn cynnwys yr hyspysrwydd diweddaraf am ansawdd y gwledydd a gynnrychiolir ganddynt, ac yn dangos pa bethau manteisiol a gynnygir ganddynt i ymfudwyr, megys rhad roddion o dir, neu fordaith rydd neu gynnorthwyedig, pa drafnidwyr neu grefftwyr sy debycaf i gael gwaith, beth yw y cyflogau cyffredin, pa ymborth sydd i'w gael ynddynt, a pha beth yw ei bris ef ac ereill o angenrheidiau bywyd. Heb law y llyfr hwn, cyhoeddir rhai ereill yn fuan gan yr un Gymdeithas gyda gwybodaeth am wledydd ereill. Rhoddir hyspysiadau y llywodraeth, neu rai swyddogol ereill, o bryd i bryd yn y newyddiaduron, yn gofyn am grefftwyr neu ddynion medrus mewn rhyw grefftau neillduol, y rhai y mae anghen enwedigol am danynt yn y naill drefedigaeth neu y llall, ac yn gosod allan y manteision a gynnygir mewn dull o fordaith rydd, neu â chynnorthwy yn cael ei roddi ati. Yn achlysurol argreffir erthyglau yn y *Times* a newyddiaduron ereill gan ddynion a fyddont wedi ymweled â rhai o'r gwledydd agored i ymfudwyr, neu wedi preswylio ynddynt; ac wrth yr erthyglau hyn gellir gwybod beth yw rhagolygon masnach, amaethyddiaeth, neu ryw waith neu lafur arall yn y gwledydd hyny. Os dygwydd na bo gan y neb a fo yn bwriadu ymfudo, gyfleusdra i weled y papyrau hyn, ac heb fod ei hun yn gwybod pa fodd i gael yr wybodaeth sydd eisieu arno, ni ddylai betruso myned at offeiriad ei blwyf, neu ryw offeiriad arall y byddo yn gwybod rhywbeth am dano, a cheisio ei gynnorthwy i gael gwybod y peth y mae ei eisieu arno. Rhydd y Parch. *J. Bridger, Emigrants' Chaplain, St. Nicholas Street, Liverpool,* ateb cyn belled ag y byddo modd i ymholiadau a gyfeirir ato gan y sawl a fwriadant ymfudo, neu gan offeiriaid ar eu rhan hwynt.

5. **Yr Ymfudwr yn gadael Cartref ac ar y Fordaith.**—Tybier fod yr ymfudwr wedi dewis ei wlad newydd, a threfnu ei fordaith iddi. Wrth yr wybodaeth a dderbyniodd, bydd, yn ol ei allu, wedi darparu iddo yr offer a'r arfau mwyaf defnyddiol, llestri, a phethau ereill anghenrheidiol i'w gartref newydd. Ac yn ddiammheu ni ddylai anghofio cymmeryd *Beibl* a *Llyfr Gweddi Gyffredin*, ac ychydig o lyfrau da ereill gydag ef. Caiff amser i'w darllen ar y fordaith allan. Bydd yn fuddiol iddo fod ganddo lythyr cymmeradwyaeth oddi wrth ei offeiriad i'w gyflwyno i

unrhyw offeiriad a ddygwyddo fod agosaf i'r fan lle yr ymsefydla. Ceir ffurf y cyfryw lythyr ar dudalen nes ym mlaen yn gwaith hwn. Bydd un offeiriad yn barod ddigon i'w adysgrifenu, a llenwi y manau gweigion ynddo; neu ynte gallai gael ffurf gan y Gymdeithas sydd yn cyhoeddi y llyfr hwn, a cheir y cyfeiriad ar y ddalen gyntaf o hono. Gyda'r fath lythyr, yr hwn y dylai ei ddefnyddio ar unwaith, bydd yn sicr bob amser o gyfaill parod i'w groesawu ar ei ddyfodiad, a chyfaill yn debygol i fod yn gwybod yn dda am y wlad a'r ardal, ac yn sicr o fod yn onest, yn ddiduedd, ac yn deilwng o ymddiried. Gall hefyd gael y fantais o'r caplan ar fwrdd y llong: a pha beth bynnag a fo, gwnaed gyfaill o hono. Bydd ganddo yn ddiau lawer awr segur yn ystod y fordaith, a chaiff ei hun yng nghanol cymdeithion tra amrywiog, a rhai o honynt heb fod yn dda iawn. Od oes ganddo ddim arian neu werth arian, digon tebyg y ceisir ganddo chwareu am danynt, neu i'w gwastraffu mewn yfed ar fwrdd y llong neu cynted ag y deuir i dir; neu, ef allai, y ceisir ganddo ymuno mewn rhyw anturiaeth wyllt, bydded onest neu beidio, yn yr hon dywedir wrtho y bydd yn sicr o wneuthur ei gynnysgaeth, a myned yn gyfoethog iawn, ond yn yr hon y bydd raid iddo ddechreu trwy ymadael â'r hyn sy ganddo. Rhaid iddo ofalu na ddalier ef yn un o'r maglau hyn, na dim cyffelyb iddynt. Caiff lawer o gyfleusderau i ddangos ei fod wedi ei wneuthur o ddefnydd da trwy ufuddhau i'r holl reolau a'r trefniadau a wnaed gan swyddogion y llong. Penderfyned ymddangos bob amser o blaid trefn, tymmer dda, anhunanoldeb, cyfeillgarwch. Uwch law pob dim, os yw mor ddedwydd a bod yn ddyn crefyddol, na foed hyny yn gywilydd ganddo, ond dangosed hyny yn y cyfryw fodd ag y cefnogo ereill.

6. **Pen y Daith.**—Pan ddaw i ben y daith, ac ar ei daith ar hyd y tir, y mae yr ymfudwr yn sicr o gael ei amgylchynu gan dorf o'r pethau a elwir yn oruchwylwyr dros ereill. Y mae i'w obeithio ei fod wedi gwneuthur ei feddwl i fyny ym mlaen llaw pa le i fyned a pha beth i'w wneuthur, ac nas gadawa ei hun i gael ei droi o'r neilldu oddi wrth ei amcan. Dylai ymestyn ym mlaen at y lle arfaethedig, fel na bo iddo golli nac amser nac arian ar y ffordd. Caiff hi yn ddigon maith ac yn ddigon costus. Os bydd rhyw ammheuaeth ganddo, edryched

allan am ryw offeiriad, yr hwn a fydd sicr o roddi iddo gynghorion da. Pe dygwyddai iddo fod yn myned i Manitoba neu y Gogledd-Orllewin, caiff gymdeithas â llawer o swyddogion, amcan arbenig y rhai ydyw dangos caredigrwydd ym mhob modd dichonadwy i ymsefydlwyr newydd megys efe. Caiff fanylion yng nghylch y gymdeithas hon, yr hon a elwir Cymdeithas Eglwys Loegr er Budd Ymsefydlwyr, ar dudalen arall. Bydd sicr o gael llaw gyfeillgar gan aelodau y gymdeithas hon. Gobeithir y ffurfir yn ebrwydd Gymdeithasau cyffelyb dros wyneb yr holl fyd.

7. **Iechyd.**—Bydd yr hinsawdd, a bywyd a arweinir ganddo dan yr awyr agored, yn ffafriol i iechyd yr ymfudwr. Ond gall fod ym mhell bell oddi wrth un meddyg neu foddion meddygol; a byddai selni arno ef neu ar ei deulu yn drallod llawer mwy difrifol nag yn yr hen wlad. Ceir ychydig awgrymau ar dudalen arall yn nes ym mlaen, y rhai y geill talu sylw iddynt ei gadw ef oddi wrth rai clefydau peryglon.

8. **Addysg.**—Ymfudwr â theulu ganddo ni ddylai fod mor galed i'w blant a gadael iddynt dyfu i fyny heb ddysgeidiaeth. Fel y mae goreu'r modd, y mae yn Canada, fel y dangosir ar dudalen arall, gyfleusdra i roddi'r fantais hon mewn bywyd i bawb o honynt.

9. **Yr Ymfudwr fel Aelod o Gymdeithas ac o'r Wladwriaeth.**—Dichon fod rhyw gymmaint o brofedigaeth i ddyn sydd wedi dyfod i ennill bywioliaeth a chartref iddo ei hun a'i deulu mewn gwlad newydd, feddwl am hyny, ac am hyny yn unig, ac anghofio ei fod ef yn rhan o gymdeithas newydd a chenedl newydd. Ni ddylai, bid sicr, wastraffu ei amser neu esgeuluso ei alwedigaeth. Ond nid da i ddyn fyw yn unigol. Gwnaethpwyd dynion i gynnorthwyo y naill y llall, ac i ffurfio cymdeithasau. Gallant wneuthur pethau pan y cydweithiant nas gall neb eu gwneuthur ei hunan. Dylai yr ymsefydlwr newydd, gan hyny, o'r dechreu, ymdrechu sefydlu a chynnal ymdrafod cyfeillgar â'i gymmydogion; cymmeryd cynnorthwy a'i roddi; arfer ei bleidlais, od oes ganddo un, neu pa allu bynnag sy ganddo, er lles y Wladwriaeth y perthyn ef iddi, a lles ei gyddinesyddion; gwneuthur pob peth a allo i gynnal ac amddiffyn llywodraeth dda, drefnus; dangos ei hun yn

*wir wladgarwr*, trwy gynnorthwyo cael cyfreithiau cyfiawn a sefydliadau teilwng; a ffurfio arferion da i'r sawl a ddelont ar ei ol.

10. **Yr Ymfudwr fel Eglwyswr.**—Ym mha ystyr bynnag arall y mae efe yn Eglwyswr, prin y gall fod dim ammheuaeth fod y darllenydd wedi derbyn bedydd gan yr Eglwys, a'i fod fel hyn wedi ei wneuthur yn "aelod o Grist," ac o'i Eglwys. Cafodd, hwyrach, ei briodi yn yr Eglwys. Y mae wedi tyfu i fyny o fewn golwg neu glyw eglwys plwyf, ac y mae wedi bod â hawl ganddo i wasanaeth *ei* offeiriad—un mewn gwirionedd a berthynai iddo, ac un yr oedd ganddo hawl ynddo—pa un a oedd ef yn dewis arfer y pethau hyn ai peidio. Ni wêl Eglwys *sefydledig* yn ei wlad newydd. Ni wel hen eglwys y pentref â'r eiddew wedi tyfu drosti, neu eglwys harddwych y dref gyda'i haddurniadau disglaer a'i chanu prydferth, a'i drysau yn agored i bawb. Ond efe a gaiff hyd i'r EGLWYS ym mhob man—y corff mawr hwnw gyda'i esgobion a'i offeiriaid, y rhai a dderbyniasant eu swyddogaeth i lawr yn rheolaidd oddi wrth GRIST ei hunan, y rhai sydd yn gweinyddu'r sacramentau a ordeiniwyd ganddo, ac ereill oll o foddion gras. Megys eglwyswr ni ddylai yr ymfudwr feddwl mai dim ond crefydd i Loegr a Chymru yn unig yn yr "Eglwys," ac y dylai ef edrych allan am grefydd arall yn Canada neu ryw leoedd ereill. Bydded ddiymmod a ffyddlawn i'w Eglwys ac i'w Harglwydd. Caiff weled fod ganddo ei esgob a'i offeiriad eglwysig pa le bynnag yr elo. (Gweler yr "Hyfforddiant Eglwysig" ar dudalen arall, Pennod IV.) Ac os dygwydd fod yr offeiriad yn byw ym mhell o ffordd, ac nad oes adeilad eglwysig na gwasanaeth rheolaidd wedi ei sefydlu eto yn y lle y mae efe, dylai ymuno ag ereill agos ato i gael un mor fuan ag y bo modd. Hyd nes cael o honynt eu heglwys eu hunain a gwasanaeth rheolaidd, dylent drefnu ymgyfarfod yn nhai eu gilydd o Sul i Sul, a darllen trwy'r gwasanaeth yng nghyd. Gwir gyfaill i'w gymmydogion fydd y neb a fo ganddo ddigon o wroldeb i ddechreu yr arfer hon. Cadwer y Sul yn rheolaidd ac yn grefyddol. Yr ydys wedi cael trwy brofiad fod y Sul yn agos cymmaint o fendith dymmorol ag ysprydol. Ein cynghor a fyddai—Ewch yn rheolaidd i'r eglwys, ac yn enwedig i'r Cymmun Sanctaidd.

Cymmerwch y cyfle cyntaf i gael bedyddio eich plant. Aed eich plant i'r Ysgol Sul, os bydd un o fewn cyrhaedd; os nad oes, dysgwch y Catecism iddynt a rhoddwch iddynt wersi o'r Beibl gartref. Mynwch dderbyn o'ch plant Fedydd Esgob cyn cynted ag y byddont ddigon hen. Cynnullwch eich teulu yng nghyd i addoliad teuluaidd, fore a hwyr. Nac esgeuluswch un amser eich beunyddiol weddi ddirgel eich hun (am rai gweddïau er eich gwasanaeth eich hun gweler Attodiad B), a darllen y Beibl yn feunyddiol, pe na bai ond ychydig adnodau. Dygwch eich plant i fyny mewn arferiad o weddi ac o ddarllen y Beibl. Cynneliwch a chynnorthwywch eich esgob a'ch offeiriaid yn eu holl ymdrechiadau er eich lles chwi a lles eich cymmydogion. Dwg crefydd sirioldeb a chysur i'ch calon eich hun ac i'ch cartref: bydd eglwys gref yn asgwrn cefn cadarn i'r genedl.

---

## PENNOD II.

## RHYW FAINT O HANES ARGLWYDDIAETH CANADA.

**1. Darluniad.**—Terfynir Canada ar du y De gan Daleithiau Cyfunol America, ac ymestyna o'r Atlantig i'r Môr Tawel. Y mae ei harwyneb yn 3,470,392 o filltiroedd ysgwâr, a chyrhaedd ei phwynt mwyaf deheuol y 42fed gyflinell o ledred. Y mae ynddi filoedd o filltiroedd ysgwâr o'r coedwigoedd prydferthaf ar y Cyfandir, cloddfëydd glo dirfawr eu maint, pysgodfëydd helaeth a chynnyrchiol, gydag afonydd a llynau gyda'r mwyaf a'r hynotaf yn y byd. Rhenir y wlad yn wyth dalaith, y rhai a enwir fel hyn:—

| | | | milltir ysgwâr. |
|---|---|---|---|
| 1. | Nova Scotia ... ... | yn cynnwys | 20,907 |
| 2. | Brunswick Newydd ... | ,, | 27,174 |
| 3. | Ynys y Tywysog Edward | ,, | 2,133 |
| 4. | Cwebec (Quebec) ... | ,, | 188,688 |
| 5. | Ontario ... ... ... | ,, | 101,733 |
| 6. | Manitoba ... ... ... | ,, | 123,200 |
| 7. | Tiriogaethau Gogledd-Orllewin ... ... | ,, | 2,665,252 |
| 8. | Columbia Brydeinig ... | ,, | 341,305 |

2. **Poblogaeth.**—Yn ol y Cyfrif a wnaed yn 1881 yr oedd poblogaeth yr Arglwyddiaeth y pryd hwnw yn 4,324,810. O'r rhai hyn cynnwysai Nova Scotia 440,572; Brunswick Newydd, 321,233; Ynys y Tywysog Edward, 108,891; Cwebec, 1,359,027; Ontario, 1,923,228; Manitoba, 65,954; Tiriogaethau Gogledd-Orllewin, 56,446; Columbia Brydeinig, 49,459. Rhoddir tarddiad a chenedl y bobloedd hyn yn y wedd ganlynol:—Saeson a Chymry, 891,248; Gwyddelod, 957,408; Ysgotiaid, 699,863; Ffrancod, 1,298,929; Ellmyn, 254,319. Gwneir y gweddill i fyny o Holandiaid, Scandinaviaid, Italiaid, etc. Dengys taflen lleoedd genedigol y trigolion fod ar yr amser presennol yn byw yn Canada 77,753 o ddynion wedi eu geni yn y Taleithiau Cyfunol.

3. **Llywodraeth.**—Gweinyddir llywodraeth y wlad gan gynnrychiolwr ei Mawrhydi, enw swyddogol yr hwn ydyw Llywodraethwr Cyffredinol. Delir y swydd am chwech mlynedd, a thelir y treuliau perthynol iddi gan yr Arglwyddiaeth. Y mae y Parliament Cyfunol yn cynnwys Senedd a Thŷ y Cyffredin, ac y mae yn gwneuthur cyfreithiau ar bob pwnc ag sy'n dal cyssylltiad â lles cyffredin y wlad. Etholir aelodau y Senedd am eu hoes, ond gallant ymddiswyddo pan y mynont. Cyfansoddir Tŷ y Cyffredin o gynnrychiolwyr o bob rhan o Canada. Dygir y llywodraeth ym mlaen, yr un fath ag ym Mhrydain, ar sail cyfrifoldeb y gweinidogion i'r Parliament, yr hwn a etholir am yspaid pum mlynedd. Dygir llywodraeth y Taleithiau ym mlaen gan Is-Lywodraethwyr, y rhai a bennodir gan y Llywodraethwr Cyffredinol mewn Cynghor; a deddfwriaethau lleol, y rhai a ymdrinant ag iawnderau gwladol a meddiannau, gweinyddiad cyfiawnder, a phethau lleol, megys addysg, rheolaeth y tir, a sefydliadau dinasol, carcharau, noddfeydd lloerigion, a'r cyffelyb. Adrenir y Taleithiau ym mhellach i siroedd a threfgorddau (neu blwyfau), byrddau a chynghorau lleol er mwyn rheoleiddio y trethi at gynnal ffyrdd, ysgolion, a dibenion trefol. Estynir yr etholfraint, mewn effaith, i bob perchen tŷ.

4. **Addysg.**—Y mae y gyfundrefn addysgiadol dan reolaeth y gwahanol daleithiau. Darperir ysgolion rhad, a rhoddir cyfleusdra i ysgolheigion llwyddiannus i gyrhaedd yr addysg uchelaf. (Gweler hefyd ym mhellach ym mlaen.)

5. **Milwyr.**—Ymddiriedir amddiffyn y wlad i'r meiwyr, cartreflu, neu filwyr cartrefol, y rhai sydd yn gynnwysedig o ddwy fyddin neu gadlu, sef yr un sydd ar waith, a'r un a gedwir i ddisgwyl taro. Pennodir nifer y flaenaf gan y gyfraith yn 40,000, ac ynddi y mae'r gwasanaeth yn wirfoddol. Yn y llall y mae yr holl wrywaid a fônt yn ddeiliaid Prydeinig rhwng 16 ac 60 oed, os heb eu rhyddhau ne'u hanghymhwyso yn ol y gyfraith, yn agored i gael eu galw i wasanaethu os bydd angenrheidrwydd yn gofyn. Arfogir y fyddin ar waith â rhychddrylliau, a theclir hwynt yn bur debyg i wirfoddolion a meiwyr Lloegr; a gellir eu gosod ar y maes ar ychydig o rybudd. Gelwir hwynt allan i'w hyfforddi am hyn a hyn o ddyddiau bob blwyddyn, am yr hyn y telir i'r swyddogion a'r gwŷr. Rhoddir swyddau i'r cyfryw ag a fyddont wedi graddu yn y colegau milwrol, ac i'r rhai y bo ganddynt y profiad anghenrheidiol, ac yn gallu myned trwy yr holiadau gofynol. Nis gellir rhoddi swydd i neb, ond dros amser yn unig, hyd oni chaffo dysteb o'i addasrwydd trwy un neu arall o'r ddau wasanaeth hyn. Y mae'r tystebau a roddir o ddau fath: y gyntaf, yr hon sy ddigonol nes y cyrhaeddir safle cadben; a'r ail, yr hon sydd yn cymhwyso i fod yn is-gadfridog. Y mae'r fyddin o dan awdurdod uchel swyddog o fyddin Lloegr.

Mewn amryw o'r prifysgolion, y colegau, a'r ysgolion penaf, ffurfir cymdeithasau er mwyn hyfforddiant milwraidd. Rhoddir iddynt arfau ac anghenrheidiau gan y Llywodraeth. Rhoddir addysg mewn hyfforddiadau milwraidd yn unig, a'r fintai a ffurfir felly, ni sefydlir mo honi mewn gwasanaeth gweithredol. Y mae coleg milwraidd i ddysgu cadfoddogion (am yspaid pedair blynedd) yn Kingston, ac ysgolion gynnyddiaeth yn Cwebec a Kingston. Y tâl yn Kingston yw 200 doler am y flwyddyn gyntaf, er darparu gwisgoedd milwraidd, llyfrau, a'r cyffelyb; ac i'r un dibenion, 150 dr. y flwyddyn am y tair blynedd ereill. Darperir yn ddidal i'r ysgolheigion ymborth a gwasanaeth, ond rhaid iddynt dalu am olchi eu dillad, ac am ymborth hefyd os arosant dros y gwyliau. Y mae trigias o bum mlynedd yn Canada yn anghenrheiddiol er mwyn derbyniad. Trwy weithred seneddol yn Eisteddiad 1883, cafwyd gallu i godi a chynnal, heb law y fyddin gyffredin ar waith, un gatrawd o wŷr meirch, tair

magnelfa o gadoffer (y rhai y mae dwy o honynt wedi eu ffurfio eisoes), dim mwy na thair mintai o wŷr traed, a'r bod y cyfan o'r gwahanol gadgyrff hyn i beidio â bod yn fwy na 750 o wŷr. Y mae'r swyddogion i gael eu pennodi hyd y myner, a chofrestrir y gwŷr o dan drefniadau i gael eu gwneuthur gan y Llywodraethwr mewn Cynghor am yspaid tair blynedd o gysson wasanaeth. Y cyrff hyn, tra yn cyflawnu dyledswyddau gwarchodlu a dyledswyddau ereill, a atebant ddiben ysgolion i roddi hyfforddiadau milwraid i swyddogion a goswyddogion, a'r meiwyr, y rhai a allant ymuno â hwynt er mwyn efryd ac hyfforddiant.

6. **Masnach.**—Rhoddir pob hwylusdod i gael breintysgrifau am ddyfeisiau, gan fod y tâl yn rhesymol iawn, ac eto y mae yn amddiffyniad mor effeithiol ag mewn gwledydd ereill.

Dengys y ffugrau canlynol ddadforion ac allforion Canada (neu yr hyn y mae wedi ei gymmeryd i mewn a'r hyn y mae wedi ei anfon allan) am y flwyddyn gyllidol 1883:—

| | Doler. |
|---|---|
| Dadforion ... ... ... ... | 132,254,022 |
| Allforion ... ... ... ... | 98,085,804 |
| Dosperthir yr allforion fel hyn:— | |
| Cynnyrch y mwyngloddiau ... | 2,970,886 |
| „ „ Pysgodfëydd ... | 8,809,118 |
| „ „ Coedwigoedd ... ... | 25,370,726 |
| Anifeiliaid a'u cynnyrch ... ... | 20,284,343 |
| Cynnyrch amaethyddol ... ... | 22,818,519 |
| Gweithfëydd ... ... ... | 3,503,220 |
| Amrywiol nwyddau, arian bath ac anfath, ac amcan o dderbyniadau y porthladdoedd mewnol ... | 4,577,219 |

Amaethyddiaeth sydd yn gwneuthur prif gyfoeth yr Arglwyddiaeth ar hyn o amser; ond gwelir fod Canada yn cymmeryd safle megys gwlad weithfaol; ac y mae ei hadnoddau yn gyfryw ag y gellir dywedyd am dani fod ei chynnydd yn y golygiad hwn yn debyg i barhau. Er y fl. 1878 y mae gwerth y dadforion neu'r nwyddau a ddygwyd iddi o Brydain Fawr wedi cynnyddu o 37,431,000 doler i 52,052,465 doler yn 1883. Ac felly gellir ei chymharu yn dra manteisiol â'r Taleithiau Cyfunol.

7. **Hinsawdd.**—Mewn gwlad fel Arglwyddiaeth Canada, yn ymestyn tua'r gogledd o'r 42fed gyflinell lledred, ac o ddwyrain i orllewin am 3000 o filltiroedd, y mae yr hin, fel y gellid disgwyl, yn amrywio; ond, a llefaru yn gyffredin, mae yr haf yn boethach nag yng Nghymru a Lloegr, a'r gauaf yn oerach. Ond nid yw poethder yr haf nac oerfel y gauaf yn anfanteisiol i'r trigolion, nac i gynnyrchioldeb a ffrwythlonrwydd y tir. Y mae gwres yr haf yn peri fod mawr amrywiaeth yng nghynnyrch y tir; megys yn yr yd, o geirch a haidd i wenith ac yd yr India; yn y ffrwythau, o afalau a pher i eirin gwlanog neu beatus, grawnwin, pompionau, nectarinion, a bricyll; yn y llysiau a'r planigion, o fwytatwys, maip, moron, a bresych, i'r wy-lys a'r tomatwys. Nis gellir yn briodol fesuro tymmeredd y gauaf â'r gwresfesur tuag at ei gymharu â thymmeredd gwledydd ereill. Y mae ar brydiau ym mhell is law'r gwagnod neu'r rhewbwynt; ond y mae yr awyr mor sych, ysgafn, ac adfywiol, fel nad yw effaith yr oerfel ar y corff yn agos cymmaint ag a fyddai llawer llai o oerfel mewn hinsawdd lleithach. Nid yw rhew ac eira yn rhwystro nemawr ar waith yr amaethydd. Y maent yn achles i'r tir agos mor werthfawr a phe taenid gwrtaith drosto. Troant wyneb y ddaiar i fod yn ffyrdd cystal a thollffyrdd ym mhob cyfeiriad, ar hyd y rhai y cludir miliynau o dynellau o gynnyrch o bob math am y pris iselaf, gan roddi gwaith i ddynion ac i geffylau, pryd nas gellir trin y ddaiar gan y rhew. Heb law hyn, mewn golygiad amaethyddol nid yw o nemawr bwys pa un ai ym mhwynt y rhew y byddo y gwresfesur ai is law hyny. Nid oes gan y gauaf yn Canada ond ychydig os dim effaith ar dyfiant y ddaiar. Erys y coed ffrwythau, mewn effaith, heb ddim gofal am danynt yn ystod y tymmor gauaf; ymddengys rhedyn, blodau, a manwydd mor rheolaidd yn y gwanwyn ag yr ymddangosant yng Nghymru a Lloegr; ac y mae'r coedydd a'r dyffrynoedd yn llawn o ffrwythau gwylltion. Gadewir y gwinwydd yn nyffryn Ottawa, ac o amgylch Toronto a pharthau ereill, heb gysgod nac amddiffyn yn y byd yn y gauaf heb un niwed iddynt.

Dywedir hefyd nas gall Canada fod yn wlad dda i godi gwartheg. Ond er hyny y mae hi yn codi digon ar gyfer ei phedair miliwn a hanner o drigolion, ac anfonir

llawer iawn hefyd allan o'r wlad bob blwyddyn. Dylid cofio gyda golwg ar hyn, na chaniatëir dyfod â gwartheg i Canada o'r Taleithiau Cyfunol, ond y cyfryw ag y bo achau ganddynt er mwyn magu oddi wrthynt; ac ni roddwyd caniatâd i hyn ond am ychydig fisoedd yn unig. Nid yw hyn yn perthyn i Manitoba a'r Tiriogaethau Gogledd-Orllewin, o'r rhai, modd bynnag, ni allforir dim anifeiliaid yn bresennol; ond y mae yn y parthau hyny lawer megidfa lle y codir llawer o filoedd o wartheg, y rhai ni roddir mewn tŷ na chysgod yn ystod y gauaf. Dengys y ffugrau canlynol y nifer o wartheg, ceffylau, a defaid, a anfonwyd allan o Canada, yn yspaid y tair blynedd ddiweddaf:—

| | Gwartheg. | Ceffylau. | Defaid. |
|---|---|---|---|
| 1881 | 62,277 | 21,993 | 354,155 |
| 1882 | 62,337 | 21,006 | 311,669 |
| 1883 | 67,060 | 13,500 | 308,662 |

Blodgett, yr ysgrifenydd Americaidd ar hinsoddiaeth, a ddywed fel hyn am ansawdd yr hin yn Canada:—

"Ond nid yw oerni y flwyddyn, a'i chymmeryd gyda'i gilydd, yn lleihau ond ychydig os dim ar allu cynnyrchiol Canada, gan fod gwres mawr yr haf yn cyflawn wneyd i fyny am oerfel y gauaf; ac y mae parthau helaeth yn y Dwyrain, a rhai mwy fyth yn agos i lan y Môr Tawel, y rhai y mae ganddynt y cwbl o fanteision hinsoddau arfor. Y mae gan Nova Scotia, gyda rhan o Brunswick Newydd, ac amryw ynysoedd cyfagos, yr hyn a ellir ei alw yn hinsawdd arfordir cyflawn, neu hin sydd yn cyfnewid yn raddol a chymmedrol y naill fis ar ol y llall, heb ddim eithafoedd neillduol o wres ac oerfel . . . Parth arall a hynodir yn y modd pwysicaf ac arbenicaf o ran ei hinsawdd yw y gwastadoedd i'r dwyrain o'r Mynyddoedd Creigiog, lle mae y nodweddau arfordirol yn ymgymmysgu â'r rhai cyfandirol, a thrwy hyny y mae yr hin yn debyg i hin gwastadoedd Deheubarth Rwssia, ac yn ffafriol dros ben i drin y ddaiar ac i ymsefydlu yno. Y mae yr hinsawdd cymmedrol yn ymestyn tua'r gorllewin o Lyn Superior a Llyn Winnipeg i'r Mynyddoedd Creigiog, ac yn wir y tu hwnt iddynt mewn amryw ddyffrynoedd gwrteithiadwy. Y mae yr arwynebedd yma yn lled debyg ei lun i driongl, yr hwn

y mae ei waelod yn rhedeg gyda'r 49fed gyflinell, a'i fraich orllewinol ar y hyd 122fed deheu-gylch hydred o 49° i 60° o ledred gogleddol; a phe tynid llinell led uniawn o'r pwynt hwn i Ffort Wiliam, byddai honno yn fraich ogledd-ddwyreiniol iddo; a thros yr holl eangder hwn y mae yr hinsawdd yn gyffredin mor ffafriol ag yw hinsawdd Prwssia, neu un Deheubarth Rwssia o Moscow i'r Môr Du."

Afreidiol nodi fod oerfel y gauaf yn Canada yn fwy nag yng Nghymru a Lloegr. Caniatëir hyn gan bawb; ond nid yw yn anfanteisiol. Y mae'r tai yn Canada, a'r dillad a wisgir, yn gyfaddas i'r tywydd; a gwyddys yn dda ddigon fod yn well gan y Canadiaid eu tywydd gauaf sych, clir hwy, na'r tywydd llaith, pigog, sy'n gyffredin yn Lloegr. Dywedir nas gall yr amaethwyr weithio yn y gauaf, a bod y gwaith yn sefyll yn ei un man. Nis gellid gwneuthur mwy camsyniad. Y mae yr amaethwr, yn Canada, yn gwneyd yn debyg iawn yr un gwaith yn y gauaf ag a wneir gan amaethwyr Cymru a Lloegr yn ystod yr un tymmor ac ar dywydd gwlyb. Y mae y rhew yn attal gweithredol drin y ddaiar, yr hyn o'r hwyaf nid yw ond am ryw bum mis, a llai yn fynych (yn 1881 yr oeddid yn aredig yng nghwmpasoedd Ottawa ar y dydd cyntaf o Ragfyr); ceir gwaith i ddynion ac i geffylau i gertio, ac mewn llawer modd arall. Torir a llifir a thrwsir coed i wahanol ddibenion yn y gauaf, yr hyn a ofyn gryn nifer o ddynion. Gall crefftwyr fyned ym mlaen â'u gwaith trwy'r tymmor, ond gweithwyr fel seiri maen a phriddfaen; a gallant hwythau wneuthur gwaith o'r tu mewn i dai. Ond os ä dyn i un o'r trefedigaethau, rhaid iddo fod yn barod i gymmeryd y gwaith a all ei gael, ac, yn Canada, ni cheir dim anhawsder i gael gwaith gan neb a fyddo foddlawn i weithio.

8. **Ffyrdd a Thramwyaeth.**—Y mae yn Canada lawer iawn o ffyrdd haiarn yn ymgangenu trwy'r wlad. Y mae tuag 8000 o filltiroedd eisoes ar waith, ac felly ceir cyfryngau tramwyaeth o dalaith Nova Scotia i ranau gorllewinol Ontario, a thrachefn o lanau gorllewinol Llyn Superior i Manitoba a'r Diriogaeth Ogledd-Orllewin. Y mae Rheilffordd Canada i'r Môr Tawel—un o'r gweithiau cenedlaethol mwyaf yn yr oes—yn cael ei gweithio yn gyflym. Y flwyddyn nesaf bydd yn ddichonadwy cyrhaedd y Gogledd-Orllewin ar hyd ffordd neu deithred oll o

fewn Tiriogaeth Canada. Rhed y ffordd dros y rhan ddwyreiniol o Reilffordd Canada i'r Môr Tawel o Cwebec i Algoma Mills ar y Georgian Bay, yna mewn agerlongau buain a chyflëus i Port Arthur, Thunder Bay, o'r hwn le y mae'r llinell wedi ei gosod ac ar waith i'r Mynyddoedd Creigiog, tua 1300 o filltiroedd o ffordd. Y flwyddyn hon (1885) bydd yr holl linell wedi ei hagor i fasnach a thrafnid o'r Môr Atlantig i'r Môr Tawel. Prysurir y gwaith anhawdd yn Columbia Brydeinig ac ar lanau gogleddol Llyn Superior gyda phob brys dichonadwy. Bydd y llinell, pan ei gorphener, yn 2900 o filltiroedd o hyd. Nid yw hyn yn cynnwys yr holl gangenau y bydd raid eu cael. Deallir pwysigrwydd cyhoeddus y ffordd haiarn hon pan fyneger fod cynnorthwy arianol mewn gweithiau gorphenedig eisoes ac mewn arian parod, yn dyfod yn agos i un filiwn ar ddeg o arian Lloegr, a bod Parliament Canada wedi pleidleisio pum miliwn ar hugain o gyfeiriau tir, modd y gellid dwyn y cyttundeb i ben. Gwerthir y tir gan y Cwmpeini i ddynion i drefedigo arno.

Y mae mordwyaeth parthau mewnol yr Arglwyddiaeth wedi costio swm mawr o arian; ond y mae yn waith y gall y wlad fod yn falch o hono. Gall llestri o 600 tynell fyned o ben gorllewinol Llyn Superior ac o borthladdoedd y Taleithiau Cyfunol ar y dirfawr fôr ynnhirog hwnw i Montreal trwy Lynau Michigan, Huron, Erie, ac Ontario, a'r afon St. Lawrens,—pellder o 1300 milltir yn agos. Y mae yr argaeau ar y Welland Canal yn cyssylltu Llyn Erie a Llyn Ontario—a wnaed yn anghenrheidiol gan Raiadr Niagara—wedi eu helaethu yn ddiweddar, ac y maent yn awr yn 270 troedfedd o hyd, 45 o led, a 14 o ddyfnder. Gan hyny defnyddir llestri mwy eu maint eto i gludo cynnyrch yn uniongyrchol o Orllewin Canada a'r Taleithiau Cyfunol i deithred y St. Lawrens, yr hyn a duedda i leihau pris y trosglwyddiad. Y mae rhai manteision yn perthyn i deithred Canada o'r Llynau i borthladdoedd y dadlongiad, o'i chymharu â'r un i New York a phorthladdoedd Americaidd ereill. Cymmerer, er enghraifft, y pellder o Chicago. Y mae 150 milltir yn llai i Montreal nag i New York, trwy Buffalo a Chamlas Erie, ac y mae un ar bymtheg yn fwy o argaeau a 89½ troedfedd o godiad yn yr argaeau gan

y deithred Americaidd na'r un Ganadaidd. Heb law hyny, y mae Montreal 300 milltir yn nes i Loegr nag yw New York. Er dangos y gwelliant sydd wedi cymmeryd lle ym mordwyad y St. Lawrens, gellir nodi nad oedd gwely yr afon rhwng Cwebec a Montreal ddim ond 11 troedfedd o ddyfnder; y mae yn raddol wedi ei chwanegu i 26 troedfedd. Gall agerlongau yr Atlantig weithiau angori yn ymyl dinas Montreal.

9. **Trefniadau pethynol i Lythyrau a Phellebron.**—Y mae gan Canada drefniadau rhagorol mewn perthynas i lythyrau, gan fod llythyrdy i'w gael braidd ym mhob pentref; a chyssylltir pob lle o ddim pwys â'r pellebr trydanol.

10. **Ymfudiaeth i Canada.—(*a*) Graddau Ymfudwyr.**—Y mae ymfudiaeth i Canada wedi bod er ys rhai blynyddoedd yn bur foddhaol. Dengys y ffugrau a roddir isod nifer y bobl a ymsefydlasant yn Canada er 1879.

| | |
|---|---|
| 1880 ... ... ... ... ... | 38,505 |
| 1881 ... ... ... ... ... | 47,991 |
| 1882 ... ... ... ... ... | 112,458 |
| 1883 ... ... ... ... ... | 133,624 |

Y mae cynnydd y rhifedi o flwyddyn i flwyddyn yn brawf ynddo ei hun y mawr lwyddiant y mae'r Drefedigaeth yn ei fwynhau. Er ys peth amser a aeth heibio camddywedwyd fod llawer iawn yn ymfudaw o Canada i'r Taleithiau Cyfunol. Tarddodd hyn o gyhoeddi ystadegau o ddechreuad Americaidd. Chwiliwyd a chwalwyd yr honiadau hyn mewn adroddiad a wnaed i Lywodraeth Canada gan Ysgrifenydd y Dosparth Amaethyddol, a chyflwynwyd ef yn ddiweddar i ddau Dŷ Senedd Lloegr. Dengys tu hwnt i ddadl fod y ffugrau wedi eu sylfaenu ar hyspysrwydd anghywir, ac nas gellir eu battegu. Naturiol yw bod cryn symmudiad pobl rhwng Canada a'r Taleithiau Cyfunol, gan fod y ddwy wlad yn ymylu â'u gilydd; ond gwrthbwysir ymfudiad o un gan ymfudiad o'r llall. Y mae yr argraffiadau gwrthwynebol a gyhoeddwyd â thuedd ynddynt i niweidio Canada yng ngolwg y rhai a fwriadant ymfudo, ond heb lawer o effaith, fel y goleufynega y ffugrau blaenorol.

Y graddau neu ddosparthau a annogir i ymfudo yw y rhai hyn:—

1. Deiliaid amaethyddol yn y Deyrnas Gyfunol gyda digon o fodd i'w galluogi i ymsefydlu ar dyddynau neu ffermau; gellir eu cynghori hwy i fyned gyda diogelwch, a chyda sicrwydd y gwnânt yn dda. Gellir gwneuthur yr un sylw gyda golwg ar ddynion a fedrant ymroddi i ddilyn amaethyddiaeth, ac â digon o fodd ganddynt i brynu tyddynau.

2. Dynion ag arian ganddynt, ac yn ymofyn am le i'w gosod allan.

3. Gwrywod a benywod i weithio ar dyddynau neu ffermau; a morwynion teuluaidd, crefftwyr, a llafurwyr cyffredin, y rhai a gynnorthwyir i dalu eu mordaith allan.

Y dosparthau neu raddau a rybuddir rhag ymfudo ydyw benywod uwch law gradd morwynion gweini, ysgrifweision (neu ysgrifenwyr mewn swyddfaoedd), maelweision (neu gynnorthwywyr mewn siopau), a rhai nad oes ganddynt un alwedigaeth neillduol, ac yn anghynnefin â gweithio â'u dwylaw. Nid yw Canada yn cynnyg nemawr o gefnogaeth i'r rhai hyn.

Gofynir yn fynych yng nghylch rhagolygon peiriannwyr dinesig, tirfesurwyr, meddygon, ac ysgrifweision, yn Canada, a chyda golwg ar swyddau ym Meiawd neu Gartreflu Canada, ym magnelfeydd y Cadoffer, ac ym mhlith Heddgeidwaid Marchogawl y Gogledd-Orllewin. A llefaru yn gyffredin, ni chynghorir gwŷr proffesog, a'r rhai sydd yn dilyn galwedigaethau lled ysgafn, i fyned i Canada dan obaith y cânt, o ddamwain, ddilyn y gorchwyl y maent wedi ymarfer ag ef. Ceir fod cynnifer o ddynion felly i'w cael ag y sydd o alwad am danynt, a phetruseir eu hannog i fyned allan, oddi eithr i lenwi rhyw swyddau y bônt wedi cyttuno yn eu cylch cyn cychwyn. Dywediad cyffredin yw hyn, a gellid, bid sicr, nodi enghreifftiau lle y mae dynion o'r fath wedi myned i'r wlad a llwyddo. Ond y mae llawer iawn yn sefyll ar y dynion eu hunain. Nid oes dim anhawsder i feddyg ymgymhwyso yn Canada os bydd ganddo raddlythyr o Loegr, a gellid gwneuthur yr un sylw mewn perthynas i dirfesurwr, periannydd dinesig, neu farofydd. Rhaid i gyfreithwyr Sei-onig wasanaethu blwyddyn mewn swyddfa cyfreithiwr cyn y caniateir iddynt arfer eu galwad. Gyda golwg ar swyddau yn y Cartreflu a'r Cadoffer yn

Canada, pennodir yn gyffredin i'r cyfryw swyddau y cyfryw ag a fyddont wedi myned trwy Golegau Milwrol Canada, neu rai â chanddynt ddylanwad lleol o'u plaid, a'r wybodaeth angenrheidiol, a rhaid myned trwy arholiad addasedigol. Am Heddlu Marchogawl y Gogledd-Orllewin, adgyflenwir hwynt yn gwbl yn Canada. Y maent o 400 i 500 o nifer, a'u gwaith yw cadw trefn yn Nhiriogaethau Gogledd-Orllewin Canada. Rhaid i'r sawl a dderbynir i'w hadgyflenwi fod heb briodi, heb fod dan 18 mlynedd oed, ac heb fod yn fwy na 40. Y mesur lleiaf ar draws y ddwyfron yw 35 modfedd, a'r pwysi mwyaf yw 175 pwys. Y mae'r tâl yn amrywiaw o 40 sent y dydd i 70 sent, yn ol y gwasanaeth. Y mae yr ymrwymiad am bum mlynedd. Dilledir yr heddlu, darperir ceffylau iddynt, a chynnelir hwynt gan y Llywodraeth. Rhoddir swyddau, hyd byth y gellir, yn ol teilyngdod; ond rhoddir y fath bennodiadau hefyd i gadfoddogion neu wŷr ieuainc y Colegau Milwrol, ac i ereill y byddo eu profiad yn eu cymhwyso mewn modd neillduol at eu dyledswyddau.

Y graddau neu ddosparthau y mae anghen neillduol am danynt yn yr Arglwyddiaeth ydyw dynion i drin y ddaiar, amaethyddion, gweithwyr amaethyddol, arllwyswyr, ac yn olaf, gwasanaeth-ddynion mewn teuluoedd. Gall y rhai â modd ganddynt gael lle diogel i roi eu harian allan, na cheir mo'i well mewn un parth o'r byd. Rhoddir pob cefnogaeth i nwydd-weithyddion neu berchenogion gweithfaoedd gan awdurdodau y dinasoedd a'r trefi i sefydlu gweithiau, ac mewn llawer amgylchiad rhyddhëir hwynt oddi wrth dalu treth dros amser; tra y mae yr wybodaeth gyffredin a gyfrenir yn y llyfryn hwn yn dangos y rhagolygon sydd o flaen y dosparthau ereill. Gyda golwg ar wasanaeth-ddynion neu weinidogion teuluaidd, bydd y dyfyniadau canlynol o lythyrau oddi wrth oruchwylwyr y Llywodraeth, mewn gwahanol barthau o Canada, yn ddyddorus.

*Toronto.*—"Cyflogau (a'u cymmeryd gyda'u gilydd) a delir i weision gweini cyffredin yw 7 dr. y mis, yr uchaf tuag 8 dr., a'r iselaf 5 dr. Y mae'r gofyn am forwynion gweini yn fawr iawn."

*St. John, N.B.*—"Geill genethod galluog i ddyfod yn forwynion cyffredin, ac yn medru trin bwyd cyffredin,

golchi, ysgubo, etc., mewn teuluoedd bychain lle ni chedwir ond un, gael cyflog yn amrywiaw o 6 i 8 dr. y mis. Y mae'r gofyn yn fawr am y dosparth yma o forwynion. Caiff cogesau o 8 i 12 dr."

*Montreal.*—"Gallaf hyspysu fod cyflogau yn amrywio fel y canlyn, a bod gofyn mawr am forwynion da:—Cogesau da, o 14 i 16 dr. y mis; cogesau symol neu gyffredin, o 10 i 12 dr.; morwynion parlwr, o 8 i 10 dr.; morwynion tŷ a pharlwr, o 7 i 9 dr.; morwynion penaf plant, o 9 i 12 dr.; ail forwynion plant, o 5 i 7 dr.; morwynion cyffredinol da, o 8 i 10 dr.; morwynion cegin, o 6 i 8 dr.; golchyddesau, o 9 i 12 dr.; gweinyddesau a morwynion cyffredinol yn y wlad, o 6 i 10 dr. Gallem gael lle i lawer iawn yn y parth yma."

*Hamilton.*—"Yn ystod y tymmor diweddaf methasom â chael digon i ateb y gofyn, a siomwyd cannoedd ag oedd yn ymofyn am danynt. Cyrhaeddodd un gerbydres yma â deg ar hugain o enethod ynddi, cawsom leoedd iddynt oll, o fewn un awr, a gallasem gael lleoedd i gymmaint arall. Cyflogau—Genethod dibrofiad, i'r wlad, 3 i 5 dr. y mis; morwynion cyffredin gweddol, i'r ddinas, 5 i 7 dr.; morwynion cyffredinol da, 8 i 9 dr.; cogesau, 8 i 10 dr.; morwynion tŷ, 7 i 8 dr."

*Winnipeg, Manitoba.*—"Y mae mawr ofyn am forwynion a fedrant, neu sydd barod i gymmeryd eu dysgu, ar waith tŷ mewn teuluoedd yn Canada, a chânt eu cyflogi cynted ag y cyrhaeddont, am gyflogau o 10 i 15 dr. y mis mewn tai anghyhoedd. Mewn tai byrddio ac mewn gwesttai caiff rhai gweinidogion o 12 i 30 dr. y mis; caiff cogesau medrus 15 i 25 dr.; tra yn y gwesttai telir o 25 i 35 dr.; ond nid yw y gofyn yn fawr. Telir i wisgyddesau o 25 i 40 dr. y mis, ond rhaid iddynt ddarparu eu hymborth eu hunain."

*London, Ontario.*—"Gallai lliaws mawr o forwynion teulu gael lleoedd yn y parth yma. Dymunol fyddai dyfod â thystebau. Cyflogau:—Cogesau, o 8 i 10 dr. y mis; morwynion tŷ, 5 i 7 dr.; morwynion cyffredinol, 6 i 8 dr.; golchyddesau, 10 i 12 dr.; morwynion plant, 3 i 5 dr.; genethod gwnïo, o 50 i 60 sent y dydd."

*Ottawa.*—"Gofynwyd y tymmor hwn am ddim llai na 750 o forwynion, ond ni chafwyd ond 126. Y mae'r cyflogau yn amrywiaw o 4 i 10 dr. y mis, yn ol y gwasanaeth

a roir am danynt. Gall genethod deallus, cynnefin â gwaith ty, megys golchi, llathru dillad, a choginiaeth gyffredin, yn hawdd gael o 6 i 8 dr. y mis, a chogesau lled dda, o 8 i 10 dr."

*Kingston.*—"Annichonadwy dywedyd pa nifer o forwynion hyddysg, medrus, a allent gael gwaith, gan fod mawr eisieu am danynt ym mhob dinas, tyddyn, a phentref, ac yn y parthau gwledig ym mhlith y rhai sy'n trin y ddaiar, a gellid eu cyfrif wrth y miloedd. Cyflogau, yn ol eu medr, o 4 i 8 dr. y mis. Y cyflogau, yn gyfartal, dyweder o 5 dr. a 50 sent i 6 dr. y mis."

Rhaid dywedyd gyda golwg ar y rhifnodau hyn, yn gystal a'r rhai perthynol i gyflogau ac i'r draul i fyw dan benau y gwahanol daleithiau, eu bod yn agored i gyfnewidiadau o bryd i bryd, fel mewn pob gwlad arall.

(*b*) **Amser Ymfudo.**—Yr amser goreu i adael Prydain Fawr am Canada yw oddeutu canol Ebrill. Perthyn hyn yn fwy neillduol i ddynion nad oes ganddynt gyfeillion yn y wlad. Am y rhai y mae y cyfryw ganddynt, gellir yn ddiberygl eu cynghori i fyned allan yn gynnarach. Cânt yn ddiau bob hyspysiaeth ar y pen hwn, a phob hyfforddiant pendant a fyddo anghenrheidiol. Ni chefnogir pobl i ymfudo i Canada yn y gauaf, am y rheswm fod pob math o alwedigaeth yn fwy marwaidd yn ystod y tymmor hwnw na thymmorau ereill, yr un fath ag ym mhob gwlad arall. Y mae pob peth yn fywiog yn y gwanwyn, a gellir cael gwaith sefydlog.

---

## PENNOD III.

## TALEITHIAU CANADA.

AMCENIR yn awr gynnyg ychydig sylwadau ar bob un o'r gwahanol daleithiau y rhai y cyfansoddir Canada o honynt.

### (A) MANITOBA A'R TIRIOGAETHAU GOGLEDD-ORLLEWIN.

1. **Darluniad Cyffredinol.**—Y wlad a adwaenir yn gyffredinol weithian dan yr enwau uchod, a roddwyd trwy Freintlen i'r *Hudson Bay Company* yn 1670, yn ystod teyrnasiad Charles II., megys tir hely a masnach, a

daliwyd hi gan y Cwmpeini hyny, a chan y *North West Company* (y rhai a ymunasant yn 1821) hyd 1870, pan roddwyd eu hawliau i'r Arglwyddiaeth. Y mae wedi bod yn achos syndod fod gwlad mor helaeth wedi bod, mewn cymhariaeth, ar goll i'r byd am amser mor faith; ond rhydd y ffeithiau a grybwylir oleuni rhesymol ar y mater. Pa fodd bynnag, er amser y trosglwyddiad y mae'r wlad wedi myned rhagddi megys ar naid a charlam; ac yn 1885 rhaid ei bod yn cynnwys yn agos i 250,000 o bobl. Yn 1870 nid oedd ganddi ddim cyfleusderau ffyrdd haiarn, ac, mewn golygiad ymarferol, nid oedd ynddi na threfi, na phentrefi; ychydig oedd y llythyrdai, ac nid oedd un pellebr yn ei chyssylltu ag un man. Y mae pob peth weithian wedi newid. Y mae ei dinas benaf, Winnipeg, yn cynnwys, mae yn debygol, 25,000 o bobl, ac y mae llawer o leoedd ereill yn codi yn gyflym i sylw, gyda phoblogaeth yn amrywiaw o ychydig gannoedd i filoedd. Y mae yn y dalaith ddwy linell o ffyrdd haiarn yn rhedeg i'r deheu, ac yn ymuno â ffyrdd haiarn y Taleithiau Cyfunol; ac un arall i Thunder Bay, ar Lyn Superior; ac y mae Ffordd Haiarn Canada i'r Môr Tawel wedi ei gorphen 1000 milltir i'r gorllewin o Winnipeg. Heb law hyny, mae yr Afon Goch yn fordwyol am gryn bellder; y mae 1200 milltir o longwriaeth ar y Sascatshewan, a llestri trafnid ar yr Afon Assiniboin cyn belled a Ffort Ellice. Y mae yn o ddeutu 300 o lythyrdai yn y wlad, a chyfryngau pellebrol. Manitoba yw enw y dalaith a ffurfiwyd allan o'r Tiriogaethau Gogledd-Orllewin. Y mae yn gorwedd rhwng cyffiniau 49°—50° o ledred gogleddol, a 89°—102° o hydred gorllewinol, yng nghanol cyfandir America. Cynnwys o ddeutu 123,200 milltir ysgwâr, neu 78,000,000 cyfair o dir. Yn y fl. 1882 pasiwyd Archeb yng Nghynghor, yn rhanu y Tiriogaethau Gogledd-Orllewin y tu hwnt i gyffiniau Manitoba, yn bedair rhandir newydd, neu, a llefaru yn fwy priodol, yn bedair tiriogaeth, fel y canlyn:—

*Assiniboia*, yn cynnwys yng nghylch 95,000 milltir ysgwâr, a derfynir ar y deheu gan y derfynfa gynghenedlig; ar y dwyrain gan derfyn gorllewinol Manitoba; ar y gogledd gan linell a dyner yn agos i 52° o ledred; ac ar y gorllewin gan linell a dyner rhwng 110° ac 111° o ledred gorllewinol. *Sascatshewan*, yn cynnwys

114,000 o filltiroedd ysgwâr, a derfynir ar y deheu gan Assiniboia; ar y dwyrain gan Lyn Winnipeg ac Afon Nelson; ar y gogledd gan linell a dyner yn agos i 55° o ledred; ac ar y gorllewin gan barhâd o'r llinell sy'n dynodi y rhandir flaenorol. *Alberta*, yn cynnwys 100,000 o filltiroedd ysgwâr, a derfynir ar y deheu gan y derfynfa gyngheneдlig; ar y dwyrain gan Assiniboia a Sascatshewan; ar y gorllewin gan Columbia Brydeinig; ac ar y gogledd gan barhâd o linell derfyn Sascatshewan. *Athabasca*, yn cynnwys yng nghylch 132,000 milltir ysgwâr, a derfynir ar y deheu gan Alberta; ar y gorllewin gan Columbia Brydeinig; ar y dwyrain gan y llinell sydd yn terfynu Assiniboia tua'r gorllewin nes y croeso yr Afon Athabasca, yna gan yr afon honno a'r llyn o'r un enw, ac yna dilyn y Llyn Caeth hyd linell yn agos i 60° o ledred, yr hon yw ei therfyn gogleddol. Mewn crynodeb, cynnwys rhandir Sascatshewan drefi Battleford, Carlton, a Prince Albert. Assiniboia a gynnwys Qu'appelle, Afon South Sascatshewan ac Afon Souris, Fforts Pelly ac Ellice. Y brif dref yw Regina, ar Afon Wascana, a bwrir ei bod yn cynnwys dros 1000 o bobl. Dim ond yn 1882 y dewiswyd y fan lle y mae yn sefyll. Cynnwys Alberta yr Afonydd Battle, Bow, a Belly, y parth sy'n fegidfa anifeiliaid, a threfi Edmonton, Calgary, a Ffort MacLeod; a chynnwys Athabasca barthran glodfawr yr Afon Hedd (Peace River). Bydd rhanu y wlad ddirfawr hon, adnabyddus hyd yn hyn dan enw y Gogledd-Orllewin Fawr, yn foddion i leoli llawer man ag oedd hyd yn hyn yn bur anhyspys; a chan y bydd prif dref gan bob un, bydd y cyfryw yn ganolfan i ymsefydlu.

2. **Rhad Roddion o Dir.**—Geill gwryw neu fenyw a fo yn benteulu, neu unrhyw un a fo wedi cyrhaedd 18 mlwydd oed, gael rhad rodd o un rhan o bedair o 160 cyfair; a geill hefyd roi ei enw am y cynnyg blaenaf i brynu y bedwaredd ran arall yn cydio â'i un ef, am bris y Llywodraeth, yn amrywiaw o 2dr. y cyfair.

3. **Gweithred Tiroedd Newydd yr Arglwyddiaeth.** A ganlyn sy grynodeb o'r trefniadau diweddaraf gyda golwg ar werthu tiroedd y wladwriaeth ym Manitoba a'r Tiriogaethau Gogledd-Orllewin.

Rhenir y wlad i "drefgorddau" chwech milltir bob ffordd, pob un yn cynnwys 36 o ddognau neu gyfranau

pedair milltir ysgwâr. Rhifnodir y dognau hyn yn olynol o 1 i 36; cedwir dwy o'r adranau hyn ym mhob trefgordd tuag at dalu traul addysgeidiaeth, a gwerthir hwynt i'r uchaf ei gynnyg o bryd i bryd; a pherthyn dwy ereill i'r Hudson Bay Company, y rhai a gynnygiant eu tir ar werth am brisiau o 14st. i 24st. y cyfair ar daliadau a oedir. Swyddfa yr Hudson Bay Company yn Llundain yw, 1, *Lime Street, E.C.* Am 24 milltir o bob tu y rheilffordd (a wneir yn awr) ar draws y Cyfandir, y mae gweddill y cyfranau anghyfniferog ym mhob trefgordd yn perthyn i'r *Canadian Pacific Railway Company* (Rheilffordd Canada i'r Môr Tawel), y rhai a werthant y rhanau mawrion o'r tir a roddedd iddynt hwy ar delerau ffafriol i'r prynwr. Gellir cael manylion cyflawn yn swyddfa y Cwmpeini yn Llundain, 101, *Cannon Street, E.C.* Y gweddill o'r cyfranau cyfniferog ym mhob trefgordd (16) a ddelir yn gwbl gan y Llywodraeth ar gyfer rhoddion rhad a rhagbryniad. Adrenir pob un o'r adranau hyn yn bedair rhan o 160 cyfair, o'r rhai y gellir defnyddio dwy yn rhad roddion, a dwy ar gyfer rhagbryniant. Gall unrhyw wryw neu fenyw a fyddo yn benteulu, unrhyw aelod gwryw o deulu, os bydd yn 18 mlwydd oed, neu ryw un arall a fo wedi cyrhaedd yr oedran hwnw, gael rhad rodd o 100 cyfair, a gall hefyd gofiyfru ei hun ar gyfer hawliau i ragbrynu y 160 cyfair nesaf ato am bris y Llywodraeth, sef 2dr. a 50st. y cyfair, yr arian i'w talu ym mhob un o'r amgylchiadau hyn ym mhen tair blynedd. Fel tâl neu wobr swyddfa i gyfarfod â thraul arolygu, dogfenau, a'r cyfryw, gofynir 10dr. ym mhob un o'r amgylchiadau hyn pan gofrestrir. O'r tu allan i gylch neu amred y rheilffordd a grybwyllwyd uchod, gellir dal y cyfranau cyfniferog hefyd ar gyfer rhad roddion a rhagbryniadau, tra y gelwir y rhai anghyfniferog yn "diroedd cyhoeddus." Cynnygir y cyfryw ragbryniad a thiroedd cyhoeddus ar werth gan y Llywodraeth am 2dr. y cyfair, ac yn yr amgylchiad blaenaf telir yr arian ym mhen tair blynedd, ac yn yr olaf ar amser y pryniad. Rhoddir yr hawl neu deitl i'r rhoddion rhad ar ddiwedd tair blynedd. Y telerau i'w cyflawnu ydyw, preswylio ar y tir chwech mis yn flynyddol am dair blynedd; codi tŷ; ac yn gyffredin trin y ddaiar; ond nid yw yr ymsefydlydd yn rhwym i roddi hyn a hyn o dan gnydau.

Ymsefydlwyr heb goed ar eu tiroedd, caniatëir iddynt brynu dognau coed heb fod ar fwy o dir nag 20 cyfair, am 5dr. y cyfair, a thalu arian parod.

Gwneir trefniad neillduol a manteisiol er gwerthu darnau o dir i Gwmpeiniau, neu i ddynion ereill a fyddont yn bwriadu trefedigo y wlad ac ymsefydlu ynddi, ar ryw ammodau, gyda gallu i ddiogelu y rhag-roddion a wneir i ymsefydlwyr ar diroedd rhad roddion hyd i'r swm o £100.

Darnau o dir, heb fod byth dros 100,000 o gyfeiriau, a osodir hefyd ar edring, ammodrwym, neu brydles, er mwyn porfau arnynt, ar ardreth o £2 y flwyddyn am bob mil o gyfeiriau, ar delerau neillduol. Y mae yr edringog (neu yr un rhoddir prydles iddo) hefyd yn dyfod i'r gallu o brynu pump y cant o'r holl dir y mae yn dal edring arno, er mwyn adeiladau, etc., am 1dr. 25st. y cyfair, i'w talu ar amser y pryniad.

4. **Arweinyddion.**—Dylai y sawl a fwriadant ymsefydlu yn y wlad fyned ar unwaith i'r swyddfa tir yn y parth y byddont yn bwriadu ymsefydlu ynddo; ac anfonir arweinyddion neu gyfarwyddwyr gyda hwynt, yn ddidal, i nodi allan diroedd gweigion y gellir ymsefydlu arnynt.

5. **Y Modd neu Eiddo Gofynol.**—Ymholir yn fynych pa faint o fodd neu gyfalaf a ystyrir yn anghenrheidiol i alluogi dyn a'i deulu i gychwyn amaethydda ar rad rodd o dir. Tuedda effaith profiad i ddangos y gall wneuthur cychwyniad lled dda os bydd ganddo o £100 i £120, a dylai ei amgylchiadau wella bob blwyddyn; a dylai maint y tir a drinir ganddo ymhelaethu yn raddol. Mesurir llwyddiant dyn, yn fwy neu lai, gan ei ymdrechion ef ei hun. Anhawdd gosod i lawr unrhyw reol galed anhyblyg gyda golwg ar swm yr arian anghenrheidiol. Sylfaenir yr amcan-swm uchod ar y dybiaeth fod pob tâl am nwyddau i gael ei wneuthur pan dderbynier hwynt, ond gallai ymsefydlwr gael llawer o'r pethau anghenrheidiol arno ar goel tan yr amser y cynhauafer ei gnydau cyntaf. Teg yw tybied y gallai swm lawer llai wneyd y tro mewn gwirionedd; canys gallai ymsefydlwr a'i deulu gydag ychydig o fodd gael pris da am eu gwaith yn ystod amser y cynhauaf, ac ar adeg y byddo hamdden ganddynt. Chwanegai hyn at foddion y cyfryw deulu, a helpai hwynt i fyned yn y blaen nes y byddai ganddynt hwy ddigon o'u

tir eu hunain o dan driniaeth i'w cadw ar lawn waith. Prin y mae eisieu dywedyd mai po mwyaf o arian a fo gan ymsefydlwr, tebycaf i gyd ydyw i ddyfod ym mlaen yn gyflym; ond y mae llawer o ddynion yn tirio yn Canada, heb ddim ond punt neu ddwy yn eu llogellau, wedi cymmeryd i fyny y rhad roddion o dir, wedi myned allan ar gyflog i weithio, ac yn trin eu tir eu hunain yn awr ac yn y man pan gaffont ennyd, gan huria dyn yn amser y cynhauaf, neu pan fyddo yn anghenrheidiol. Yn y modd hwn y maent wedi trin eu tyddynau a'i gyflenwi ag anifeiliaid. Y mae llawer o ddynion y pryd hwn yn Canada mewn sefyllfaoedd annibynol a ddechreuasant yn y wedd hon. Dealler nad yw y ffugr a enwir uchod yn golygu mordaith yr ymsefydlwr a'i deulu o Gymru a Lloegr i Manitoba a'r Gogledd-Orllewin.

Gellir cael offer llafurwaith ac arfau ereill ym mhob rhan o Canada mor rhad ag yn Lloegr, ac felly nid yw yn werth y drafferth i ymsefydlwr ddyfod â'r cyfryw bethau gydag ef. Gellir gwneyd yr un sylw o barthed dodrefn a llestri tŷ. Gellir yn ddiogel gymmeryd cryn gyflawnder o ddillad, yn gystal a gwrthbanau, defnydd gwelyau heb eu llenwi, llieiniau, a phethau o'r natur honno; ond dylid dal mewn cof fod gwŷr y rheilffordd yn gosod terfynau ar rydd drosglwyddiad clud a mud ymdeithwyr, 250 pwys i'r dosparth cyntaf, a 100 pwys i'r trydydd dosparth o fforddolion.

Y mae gan y rheilffyrdd gluttollau neillduol ar gyfer rhai a fynont gymmeryd tocynau trwyol yr holl ffordd i Winnipeg. Eglurir y draul i gyrhaedd Canada ar ddalen arall. Y deithred ar hyd y Llynau sy trwy Algoma Mills ac Owen Sound, o'r lle y mae badau yn cychwyn i Thunder Bay (a Duluth) ym mhen gorllewinol Llyn Superior. Y mae Rheilffordd Canada i'r Môr Tawel yn agored oddi yno i Winnipeg. Y flwyddyn nesaf, megys yr eglurwyd eisoes (t. 18) bydd teithred newydd wedi ei hagoryd trwy Algoma, i gyd oll trwy diriogaeth Canada. Cymmer y daith bresennol tua phedwar diwrnod, a'r teithiwr sydd i ofalu am ei gyfreidiau ei hun ar y ffordd. Agorir y deithred gyfan ar reilffordd y Canadian Pacific Railway i Manitoba a'r Gogledd-Orllewin yn 1885. Erys y gerbydres mewn amryw leoedd ar y ffordd, er mwyn cael ymborth, lle y gellir cael prydiau o fwyd am wahanol

brisiau o swllt i fyny, neu gall yr ymsefydlwr ddarparu ei luniaeth ei hun. Gellir cael cyfarwyddyd Goruchwyliwr y Llywodraeth yn y porthladd y tirir ynddo ar y pwnc hwn. Y mae Rheilffordd Canada i'r Môr Tawel yn awr ar waith o Thunder Bay (Llyn Superior) i Winnipeg, oddi yno i'r llinell derfyn, ac o Winnipeg tua'r gorllewin, am 1000 o filltiroedd. Rhed y rheilffordd hon trwy feusydd glo helaeth, ac egyr hefyd goedwigoedd eang yn Rhandir Llyn Superior, ac yn agos i'r Mynyddoed Creigiog, y rhai y bydd eu coed yn werthfawr iawn i ymsefydlwyr yn y wlad. Trwy y naill neu'r llall o'r teithredau neu'r ffyrdd hyn, dichon ymsefydlwyr gyfarfod â dynion hunan-lesgar, y rhai ef allai a geisiant eu perswadio i ymsefydlu yn y Taleithiau Cyfunol yn hytrach nag yn Canada. Ni ddylid cymmeryd un sylw o honynt, ac annogir ymsefydlwyr i fyned yn y blaen yn ddiymdro ac yn ddiaros i ben eu taith.

6. **Traul Tori'r Tir.**—Cyfrifir y draul o dori i fyny dir y gwastadoedd am y waith gyntaf yn 3 doler y cyfair; ac i aredig, hau, cynhauafu, a dyrnu, yr ail flwyddyn, yn 4 doler y cyfair.

7. **Tyddynau Diwylliedig.**—Gellir prynu ffermau diwylliedig am bunt y cyfair ac uchod.

---

## (B) HYSPYSRWYDD PWYSIG YNG NGHYLCH MANITOBA A GOGLEDD-ORLLEWIN CANADA.

**Tymmor.**—Dechreuir aredig yn Ebrill. Hau yn Ebrill a Mai. Cynhauaf yn Awst. Dechreu y gauaf yng nghanol Tachwedd, a pharha dan ddiwedd Mawrth.

**Hinsawdd.**—Iachus, heb ddim clefydau heintus na mallawyr. Y gwanwyn, clir a goleu. Yr Haf, cynhes, gyda nosweithiau tawel-oer. Yr Hydref, adfywiol a hyfryd. Y gauaf, unweddol, sych a chryfhaol.

**Ansawdd y Tir.**—Bras, tywyll, pridd cleilyd tywodog, o 2 i 4 troedfedd o ddyfnder.

**Dwfr.**—Dwfr da ond cloddio yn y man y myner. Ffrydiau gloew rhedegog. Llynau hardd a hyfryd.

**Coed.**—Llwyni a thyrrau o goed yn britho yr holl wastadedd. Amgylchir yr afonydd a'r ffrydiau gan goedydd, a cheir yn rhwydd goed tân ac at adeiladu.

Gwair.—Gwell gan y gwartheg borfa wyllt gwastadoedd Gogledd-Orllewin Canada na'r fath ag a godir trwy amaethu. Y mae yn dra rhagorol i besgi anifeiliaid, a digonedd o hono ym mhob man. Y mae y gwair a elwir rhonwellt y gath yn rhoi tair tynell yr erw.

EGLWYSI AC YSGOLION.

Cynnrychiolir pob enwad crefyddol ym Manitoba a Gogledd-Orllewin Canada. Ceir eglwysi ym mhob man lle y mae y sefydliadau yn ddigon mawr i roddi cefnogaeth ddyladwy i godi adeiladau eglwysig. Mewn amgylchiadau ereill y mae'r gweinidogion eglwysig yn ymweled yn fynych ac yn rheolaidd â'r gwahanol fanau. Ym mhlith y gwahanol enwadau a gynnrychiolir yn holl barthau Gogledd-Orllewin Canada y mae yr Esgobyddion, Trefnyddion Esgobyddol, Trefnyddion Canada, Henaduriaethwyr, Cynnulleidfaolion, Bedyddwyr, a Phabyddion. Y mae Llywodraeth yr Arglwyddiaeth wedi neillduo dwy adran neu 1280 o gyfeiriau o dir ym mhob trefgordd, y rhai, pan eu gwerthir, y rhoddir eu cynnyrch i sefydlu ysgolion. Y gyfundrefn addysg yw un ysgolion gwahanredol, a rhenir y rhoddion yn gydwastad yn ol rhifedi y plant a fyddont ym mhob adran, megys y sicrhëir gan gyfrifiad blynyddol. Cynted ag y cynnyddo sefydliad, sefydlir ysgolion, ac, yn gymmaint ag y rhaid i athrawon fyned trwy arholiad manwl cyn y pennodir hwynt, y mae addysg y plant yn gyffredin o radd uchel.

FFRWYTHAU A LLYSIAU.

Y mae mefus, mafon, grwys (eirin Mair), amryw fath o afalau a mân aeron, yn llwyddo y naill fel y llall ym Manitoba; ac y mae erfin (maip), betys (melged), pompiwn, llysfer neu fer tyfol, llebron (eurafal), bresych, wylys, cwcmwr (cucumerau), helogan (per llys yr hel), moron, tomatwys, bwytatwys, winwyn, ac mewn gwirionedd, pob cynnyrch gardd, yn cyrhaedd perffeithrwydd ym Manitoba llwyr anhyspys mewn lleoedd ereill a llai ffafriol. Y mae tyfolion o bob math yn doreithiog ac yn dra chnydfawr, fel y gellir gweled wrth yr enghreifftiau canlynol, y rhai y gellir sicrhau eu cywirdeb y pryd y myner gan amaethwyr lluosog yn byw yn y wlad:—

Erfin, 30 pwys bob un, pwysi cyffredin 12 pwys;

llysfer, 5½ troedfedd o amgylch y canol; moron, 11 pwys bob un; eurafalau, 18 pwys yr un; winwyn, 1½ bob un; mangold, 27 pwys bob un; betys, 23 pwys yr un; bresych, 49 pwys bob un.

### MARCHNADOEDD.

Pwnc tra phwysig i'r amaethydd yw y pellder o'r tyddyn i farchnad am ei gynnyrch. Y pwnc hwn, cyn belled ag y perthyn i Ogledd-Orllewin Canada, y mae Cwmpeini y Canadian Pacific Railway yn ei benderfynu trwy godi dyrchafyddion mewn gwahanol fanau ar linell y rheilffordd, a thrwy hyny sicrhau i'r cynnyrchwr farchnad wastadol lle y gall gael bob amser brls uchelaf y farchnad. Y mae'r gorsafau ar y linell hon yn bellderau cyfleus oddi wrth eu gilydd; y pellder cyffredin rhyngddynt ar hyn o bryd yw o saith i ddeng milltir; a chan fod pob gorsaf yn dyfod yn gyflym i fod yn ganolbwynt i drafnid a masnach y wlad oddi amgylch, hawdd canfod mor hynod o gyfleus yw i ymsefydlwyr gyrhaedd y marchnadoedd. Bydd i gyflym wneuthuriad rheilffyrdd a gweithiau cyhoeddus ereill, yn gystal a dylifad mawr poblogaeth sy'n cymmeryd lle, greu am flynyddoedd farchnad fawr gartrefol; a rhydd y cyfleusderau i drosglwyddo ar ddwfr ac ar reilffordd,—y rhai sy lawn cystal a rhai Taleithiau Gorllewinol America, os nid gwell,—amaethwyr Gogledd-Orllewin Canada mewn sefyllfa anghyffredin o hwylus gyda golwg ar farchnadoedd i'w cynnyrchion.

Y mae amryw drefi mawrion yn cyflym gynnyddu mewn maint a phwysigrwydd, mewn gwahanol barthau o Manitoba a'r Gogledd-Orllewin. Ym mhlith ereill, Portage la Prairie, Emerson, Brandon, Moosomin, Broadview, Regina, Qu'Appelle, Moose Jaw, Medicine Hat, Edmonton, Prince Albert, Calgary, etc., y rhai oll a ddarparant waith i weithwyr da, marchnadoedd i gynnyrch yr amaethwyr, ac ef allai safle yn yr amser addaw i ganolfanau masnachol a gweithfaol llwyddiannus.

Y mae y cyflogau i grefftwyr, yn enwedig i rai yn perthyn i waith adeiladu, yn codi yn uchel tua diwedd y tymmor. Yn y gwanwyn y mae y cyflogau yn llawer iselach, er bod, fe, y pryd hyny, yr arian a delir yn llawer uwch nag ym Mhrydain Fawr.

Disgwylir y bydd i'r rheilffordd y flwyddyn hon

gyrhaedd Souris, a meusydd glo Sascatschewan ac Afonydd Bow a Belly, yr hyn a raid dueddu i ostwng pris y glo.

Y mae traul dynion anweddog am ymborth a lletty yn amrywio o £1 i £1 12s. yr wythnos; ardreth tŷ o dair i bum ystafell, £4 i £6 y mis; tai helaethach, o £6 i £15 y mis. Y mae yr un sylwadau yn gymhwys i barthau a fyddont yn gorwedd yn allanol, ond bod y prisiau hytrach yn is.

Y detholion canlynol allan o adroddiad a wnaed gan yr Anrhyd. SYR ALEXANDER GALT, G.C.M.G., ar ei ymweliad yn 1881 â Manitoba a'r Gogledd-Orllewin, a gynnwysant lawer o hyspysrwydd buddiol ar y pwnc:—

"Gyda golwg ar yr hinsawdd y mae pob tystiolaeth a gafwyd oddi wrth bawb yr ymofynwyd â hwynt yn foddhaol i'r eithaf. Yr oedd yr hin yn ddiau yn oer, ond yn sych, gydag ond ychydig o wynt. Y cwymp o eira nid oedd drwm, ac anfynych yn fwy na deuddeg i bedair modfedd ar ddeg yn ystod y gauaf; prin gymmaint a diwrnod yn y gauaf pan na allai dyn wneuthur gwaith allan trwy y dydd, ac yn gyffredin i'w ddewis yn hytrach i dyneiach tywydd Ontario, lle y parai y gwlybin, yn gymmysg â'r oerfel, lawer mwy o anghysur a cholledwirioneddol o ran amser. Mewn perthynas i'r hyn a ddywedir am rewogydd cynnar, arweinia profiad ymsefydlwyr i hau yn gynnar iawn, cynted ag y bo wyneb y ddaiar yn rhydd o rew, gan fod dadleithiad parhäus yr is-weryd yn rhoddi lleithder i'r planigyn, yr hwn y mae y tywydd sych cynhes yn ei ddwyn i addfedrwydd erbyn canol Awst. Gellir nodi un peth mewn cyssylltiad â hyn yma, yr hwn nid ystyrir yn gyffredin, sef bod uchel ledred y Gogledd-Orllewin yn rhoddi llawer hwy dydd a pharhäus gynhesrwydd yr haul nag yn Ontario, ac o herwydd hyny yn cynnyrchu cyflymach tyfiant i addfedrwydd.

"Gyda golwg ar y cyflenwad o ddwfr, y mae digonedd o hono yn y parthau yr ymwelwyd â hwynt, ond nid cystal o ran ei ansawdd. . . . Ond cafwyd, modd bynnag, nad oedd yr ymsefydlwyr yn cyfarfod â dim anhawsdra i gael dwfr da at eu hanghenrheidiau wrth ddim ond tori pydewau o 8 neu 10 troedfedd o ddyfnder, a gwasanaethai y pridd yn lle hidlor, gan adael dwfr glân yn rhydd oddi wrth bob ammhuredd. Ar hyn o fater nid ymddengys fod dim sail i ddisgwyl y bydd achwyn neu wrthddadl yn y dyfodol.

"Mewn perthynas i goed i adeiladu ac yn gynnud, ymddengys fod digon ar gyfer anghenion presennol yr ymsefydlwyr boreuol. Y mae holl lanau yr afonydd a'r ffrydiau yn goediog, a chylchynir y llynau bychain gan wregys o fân goed. . . . Gyda golwg ar goed ar gyfer adeiladu, gellir yn ddiau eu cael am brisiau rhesymol, gan fod y cyfleusderau i'w cael yn llawer mwy nag yn Nhaleithiau gwastadoedd yr Undeb, lle ni chafwyd hyd yn hyn fod absennoldeb coedwigoedd yn peri rhwystr o bwys i ymsefydliad llwyddiannus.

"Yn olaf, y mae pwnc pwysig y cynnud neu danwydd i'w ystyried, ac y mae defnydd tân yn fater o'r pwysicaf mewn hinsawdd mor galed a Thiriogaeth Ogledd-Orllewin yr Arglwyddiaeth. Ar hyn o bryd, mewn llawer o'r parthau yr ymwelwyd â hwynt, ac am yspaid mwy neu lai, ceir yn ddiammheu gyflawnder o danwydd o'r coed sydd yn awr yn tyfu, ac nid oes eisieu teimlo dim petrusdod gyda golwg ar hyrwyddo ymsefydliad uniongyrchol ar y pen hwn. . . . Y mae Rhagluniaeth, modd bynnag, wedi darparu am yr amser a ddaw, gyflenwad o'r nwydd hanfodol hwn, trwy y dirfawr feusydd glo a choedfaen, y rhai y tybir eu bod yn hanfod yn dra chyffredin, a'r rhai a ddarganfuwyd eisoes ar Afon Souris, tua 200 o filltiroedd o Winnipeg, a hefyd dros amryw gannoedd o filltiroedd o Edmonton i Ffort McLeod, gyda godre y gwastadoedd yn agos i droed y Mynyddoedd Creigiog. Yr wyf, gan hyny, o'r farn, nad oes raid pryderu yng nghylch y cyflenwad dyfodol o gynnud yn y Gogledd-Orllewin.

"Wrth adolygu yr ystyriaethau blaenorol y mae yn ddiogel genyf y parhâ ymdrechion y Llywodraeth i gael eu defnyddio i hyrwyddo ymsefydlu yn y Tiriogaethau Gogledd-Orllewin, mewn llawn' hyder nas gall yr ymdrechion hyn lai na chynnyrchu dedwyddwch a llwyddiant pawb oll ag a dueddir trwyddynt hwy i ymsefydlu yn Canada."

9. **Tanwydd.**—Nid oes cymmaint o goettir ym mharthau y gwastadoedd ag ym mharthau ereill Canada; ond y mae digon ar gyfer tanwydd, a chau cloddiau; a gellir prynu coed adeiladu yn y trefi a'r sefydliadau mwyaf. Y mae glo hefyd i'w gael mewn gwahanol fanau, ac yr ydys yn ei weithio.

10. **Teithredau a Thramwyaeth Dufewnol.**—Gellir crybwyll y gall ymsefydlwr yn myned i'r Gogledd-Orllewin yn ystod tymmor mordwyaeth, deithio yn union i Winnipeg, trwy Owen Sound a Port Arthur, gan ddefnyddio yr agerfadau ysplennydd sydd yn rhedeg rhwng Algoma Mills a'r ddau le hyny. Disgwylir y bydd yr adran o'r rheilffordd o'r tu gogledd i Lyn Superior yn agored i fasnach yn gynnar yn yr haf, ac yn ystod yr hydref y bydd y Canadian Pacific Railway wedi ei chwbl orphen, a phan wneir hyny bydd cyssylltiad didor rhwng taleithiau yr Arglwyddiaeth ar lanau y Môr Atlantig a'r Môr Tawel. Ac felly y bydd y ffordd genedlaethol dra dymunol hon yn ffaith wirioneddol, a'i dylanwad ar ddadblygiad Columbia Brydeinig, a phartliau gorllewinol ereill Canada, nis gall lai na bod yn fawr yn y dyfodiant cyfagos. Gellir chwanegu fod y rhan fwyaf o'r afonydd a'r llynau ym Manitoba yn fordwyol, a bod agerlongau yn awr yn myned yn ol ac ym mlaen yn ystod y tymmor ar yr afon Sascatshewan rhwng Winnipeg ac Edmonton, pellder gyda'r dwfr o ryw 120 milltir, gyda fforddolion a llwythi, gan alw yn Prince Albert, Carlton, Battleford, a lleoedd ereill ar y ffordd. Y mae agerlestri hefyd yn rhedeg yn rheolaidd rhwng Winnipeg, St. Vincent, a lleoedd ereill ar yn Afon Goch. Y mae cyssylltiad drwy agerlongau hefyd ar yr Afon Assiniboin rhwng Ffort Ellice a Winnipeg.

11. **Canadian Pacific Railway** (Rheilffordd Canada i'r Môr Tawel).—Y mae y llinell reilffordd yma, yr hon sydd i gyssylltu y Môr Atlantig a'r Môr Tawel, yn awr yn cael ei gwneuthur gan y Canadian Pacific Railway Company, a disgwylir iddi gosti yng nghylch o 70 i 80 miliwn o ddoleri. Y mae o ddeutu 2000 o filltiroedd o'r llinell hon eisoes ar waith, a disgwylir y bydd iddi yn 1886 gyrhaedd glan y Môr Tawel.

12. **Hinsawdd.**—Saif Manitoba yng nghanol y cyfandir, yn agos yr un pellder oddi wrth y pegwn gogleddol a llinyn y cyhydedd, ac oddi wrth y Môr Atlantig a'r Môr Tawel. Y mae yr hin yn wir boeth yn haf ac yn wir oer yn y gauaf. Derfydd yr eira, a dechreuir aredig yn Ebrill, yr hyn sydd yn lled debyg yr un amser ag yn hen daleithiau Canada a Gogledd y Taleithiau Cyfunol yn agos i'r Atlantig, a Thaleithiau

Gogledd-Orllewin Minnesota a Wisconsin. Cynhauafir y yr yd yn Awst. Y mae hirion ddyddiau heulog yr haf yn dwyn pob math o dyfolion yn fuan i addfedrwydd. Y mae'r dyddiau yn gynhes a'r nosweithiau yn oeraidd. Dechreu yr Hydref o ddeutu yr 20fed o Fedi, a phara hâ dan Dachwedd, pan y mae'r rhewogydd rheolaidd yn dechreu. Cynnwys y gauaf priodol ran o Dachwedd, Rhagfyr, Ionawr, Chwefror, a Mawrth. Y misoedd haf ydynt, rhan o Fai, Mehefin, Gorphenaf, Awst, a rhan o Fedi. Yn y gauaf disgyn y gwresfesur i 30 ac weithiau i 40 gradd is law y rhew-bwynt; ond nid yw y radd hon o oerfel yn awyrgylch sych y Gogledd-Orllewin yn peri dim teimladau anhyfryd. Ni theimlir fod yr hin yn oerach nag yn nhalaith Cwebec, nac mor oer a gauafau tynerach mewn hinsoddau lle mae'r rhew, neu yn wir lai oerfel na rhew, â lleithder neu wynt yn cydfyned ag ef. Y mae'r dystiolaeth ar y pen hwn yn gyffredinol. Ni ddisgyn yr eira ar y gwastadoedd, ar gyfartaledd, i fwy dyfnder na 18 modfedd, ac y mae buail a cheffylau yn pori allan drwy gydol y gauaf. Crafant yr eira oddi ar y gwastadoedd, a thewhânt ar y borfa a gânt oddi tano. Ymae anifeiliaid cyrnig yn pori allan ran o'r gauaf, ond mewn ambell fath o dywydd rhaid eu dwyn i mewn. Y mae enghreifftiau, modd bynnag, o anifeiliaid yn pori allan yn ystod yr holl auaf.

O Toronto tua'r gorllewin y mae tymmeredd yr hin yn codi yn ystod misoedd yr haf, a chan fod cynnyrch cyfartal yr erw o wenith yn gymmaint (os nid mwy mewn maint ac mewn pwysi) ag yn y Taleithiau Cyfunol, ymddengys fod, mewn cyssylltiad a ffrwythlondeb y tir, yr hinsawdd yn gyfaddas iawn i bob math o yd a grawn. Y mae trwch yr eira hefyd yn llai ym mharthau gorllewin yr Arglwyddiaeth, ond nid yw yr eira yn rhwystr i dyfiant y cnydau.

Darllenir gyda dyddordeb, y detholion canlynol o lythyr oddi wrth y Parch. Dâr. Bryce, o Winnipeg, ar hinsawdd Manitoba, yr hwn a ymddangosodd yn *Scotsman* Edinburgh, am Hydref 19, 1881 :—

"EDINBURGH, *Hydref* 14, 1881.

"Syr,—Yr wythnos ddiweddaf ysgrifenais lythyr byr ar Manitoba, ac, yn ateb i rai ymofyniadau yng nghylch hinsawdd y dalaith honno, dymunaf yn awr ysgrifenu ychydig linellau. Y mae camsyniad pur

gyffredin yn ffynu gyda golwg ar y fan yn hollol lle y mae Winnipeg Y mae Winnipeg yn gorwedd ar 50 gradd o ledred gogleddol, tra y mae Edinburgh, yr hon sydd tua 57 gradd, amryw gannoedd o filltiroedd yn nes i barthau rhew y pegynau na Winnipeg. I'r sawl sydd wedi darllen yr hen lyfrau yn y rhai y dywedir fod Toronto, yn rhywle yng nghylch 44 gradd i'r gogledd, yng nghanol parthau y gogledd oer, nid rhyfedd os yw Winnipeg hithau yn agored i'r un dynged anhyfryd. Y mae yn eithaf gwir nad oes pob peth gan ledred i'w wneuthur â'r pwnc; ond yn ddiau y mae ganddo rywbeth sydd a fyno ag ef. Y mae yr hyn sy mewn modd neillduol yn dylanwadu tuag dyneru hinsawdd Prydain, yn dwyn gydag ef un o elfenau pwysig anghysur, sef lleithder. Y mae y gauaf ym Manitoba yn sych iawn, a'r canlyniad yw, na wneir argraff ar y corff gan oerfel y tywydd, yr hwn, mewn hinsawdd llaith, a fyddai yn anniodd efol. Y mae absen lleithder hefyd yn cadw parhâd sefydlog o un math o dywydd, er cin mawr gysur. Gwyddys yn dda mai y cyfnewidiad cyflym—un dydd goleu hyfryd, y nesaf yn wlyb, un dydd yn rhewllyd, a'r nesaf yn fwll neu fwygl sydd mor anhawdd i'r corff gyd-ddwyn ag ef.

"Cymmerir mantais o sychder yr hinsawdd a'r awyr glir yn fynych gan rai claf o'r ddarfodedigaeth, a gwellëir hwynt. Gallaf enwi amryw o ddynion o fewn fy adnabyddiaeth, y rhai, ar ddyfod i'r wlad, yr dywedid eu bod ym mhell yn y ddarfodedigaeth, ac y maent yn awr wedi gwellâu. Y mae yr awyr sych, glir, yn rhoi hoenusrwydd i'r holl gorff, fel y sylwir gan bawb a ymwelant â'r Gogledd-Orllewin. Gyda golwg ar y teimlad o oerfel, yr wyf fi wedi bod yn sefyll â'm dwylaw a'm hwyneb yn noeth, a'm gwddf heb ddim am dano, yn edrych ar y gwresfesur yn sefyll ddeg o raddau is law y rhew-bwynt, heb deimlo dim anghysur yn y byd. Yr wyf yn cofio gyru fy nghar llusg i blwyf yn y wlad tua phymtheg milltir o Winnipeg ar ddydd Nadolig, ac ymweled o dŷ i dŷ trwy'r dydd, tra yr oedd y gwresfesur yn sefyll 40 gradd is law y rhew-bwynt. Gadewid y ceffyl o'r tu allan y rhan amlaf, a dim ond gwisg o groen bual wedi ei thaflu drosto, heb ddioddef dim o'r herwydd; tra yr oeddwn i a'r gyfeddydd, er ein bod yn myned i mewn ac allan, o gynhesrwydd i oerfel ac o oerfel i gynhesrwydd, heb deimlo dim anghyfleusdra.

"Cedwid gyntfeidiau o geffylau gan yr hen ymsefydlwyr, y rhai a fywient allan yr holl auaf. Gwelais geffylau a anesid ar y gwastadoedd, ac wedi cyrhaedd chwech neu saith mlwydd oed heb fod erioed o dan do. Gall gwartheg, cyn belled ag y mae yr oerni yn myned, fyw allan trwy gydol y gauaf; ond rhaid iddynt gael cymdeithas ceffylau, y rhai a allant dori y gacnen eira iddynt, er mwyn iddynt allu cyrhaedd y glaswellt a fyddo oddi tanodd. Ni ddylid, bid sier, gasglu oddi wrth hyn fod amaethwyr yn awr yn gadael i'w ceffylau a'u gwartheg fyned heb dŷ uwch eu pen dros y gauaf. Pa beth a ellir ei wneuthur, a pha beth sydd oreu i'w gwneuthur, sy bethau gwahanol. Dechreu y gauaf tua chanol Tachwedd; tan ddechreu Ionawr y mae yr hin yn fynych yn dywyll a thymmestlog; ac yn Rhagfyr daw y tywydd oeraf yn gyffredin. Yn Ionawr, fel y dywedir yn gyffredin, 'y mae asgwrn cefn y gauaf wedi ei dori;' ac am ddau neu dri mis wedi hyny ceir awyr ddisglaer ddigwmwl braidd yn wastadol. Gan mor gryf yw yr haul yn ei adlewyrch o'r eira, y mae amaethwyr ac ereill sy lawer allan dan yr awyr agored, yn arfer diogelu eu llygaid â niwlwe gwyrdd,

yspeithellau cauad, a'r cyffelyb. Ym Mawrth neu yn gynnar yn Ebrill y mae yr eira yn diflannu, ac ymddengys y gwanwyn ar unwaith, os, yn wir, y bydd gwanwyn o gwbl, gan mor fuan y mae yr haf yn ei ganlyn. Y mae genyf brofiad gweled y wlad a'r eira wedi diflannu a'r tywydd hyfrytaf ar y cyntaf o fis Mawrth ar amryw whanol flynyddoedd; ac ar ddwy flynedd o'r deg diweddaf yng nghanol Mawrth. Ysgafn mewn cymhariaeth y disgyn yr eira yn y Gogledd-Orllewin. Troedfedd a hanner neu ddwy droedfedd yw trwch cyffredin yr eira yn ystod y deng mlynedd sy newydd fyned heibio. Cyfarfyddir â rhai dynion y tu yma i'r Atlantig, y rhai, fel yr ymddengys, a ystyriant bedwar mis a hanner neu bum mis o auaf yn hir iawn. Y mae peidio â phob gwaith yn y meusydd, fel yr ymddengys, yn gwneuthur i amaethwyr Prydain feddwl mai prin, gyda'r fath dymmor, y gellir trin y ddaiar mewn un modd. O'r tu arall, ceir y gauaf yn y Gogledd-Orllewin yn llawn ddigon byr ar gyfer y gwaith sydd i gael ei wneuthur yndddo. Rhaid dyrnu yr yd, lawer o hono, y pryd hwnw. Gwneir defnydd o'r cyfleusderau mawr a geir i drosglwyddo pethau mewn ceir llusg, trwy yr hyn y gellir cludo llwythi dirfawr, ac arferir hwynt i lusgo coed, tori a llusgo caewydd, cynnull coed mawrion, cerryg, calch, a'r cyfryw, tuag at adeiladu, gwaith cyffelyb, hyd y deallaf, i'r hyn a wneir, yn ol fel y bo amgylchiadau yn gofyn, gan yr amaethydd Prydeinig ar dywydd gwlyb. . . ;

"Ydwyf, etc., G. BRYCE."

**13. Y Ddaiar.**—Y ddaiar sy fariandir dwfn o frasder a ffrwythlondeb nad oes mo'i ragorach. Gwastadedd ydyw gan mwyaf, a gorchuddir ef gan laswellt. Cynnyrcha gnydau toreithiog o yd a grawn, porfeydd, gwreiddiau, a bwydlysiau. Mor fras yw y ddaiar fel yr ydys wedi cael cnydau o wenith yn yr un man am ddeugain mlynedd, heb ddim gwrtaith, ac heb ddangos dim arwyddion ei fod yn cael ei dlodi. Y mae y dyfyniadau canlynol allan o adroddiadau amaethwyr Seisonig ac Ysgotig yn eu gwahanol barthau, y rhai a anfonwyd i Canada yn 1879, yn ddyddorol, a gellir ymddiried iddynt ar y pwnc hwn:—

Mr. BIGGAR, Y Grange, Dalbeattie.—"Fel maes i godi gwenith, mi a ddewiswn Manitoba ym mhell o flaen Dacota. Y mae cost cyntaf y tir yn llai, y mae y gweryd yn ddyfnach, a goddef godi mwy o gnydau, y mae'r gwenith yn well ei ansawdd, a'r cynnyrch o 5 i 10 mwysel y cyfair yn fwy, yr hyn sydd oll yn elw."

Mr. GEORGE COWAN, Annan, yn llefaru am dyddyn Mr. Mackenzie yn Burnside, a ddywed:—"Synais yn sier ddigon wrth ryfeddol ffrwythlondeb y ddaiar, yr hon sy dir du bras, gydag o ddeutu 18 modfedd o weryd gwyneb, a'r is-weryd o glai mwrl, 5 neu 6 troedfedd o ddyfnder: o dan yr hwn y mae haen deneu o dywod, yn gwbl sych, a byfrheir ef yn wych gan ffrwd brydferth a red drwyddo."

"Y mae'r tir rhwng Rapid City a'r Assiniboin, yr hon sy 25 milltir o bellder, yn dir cryf bras, gydag is-weryd o glai ar wely o raian. Gwnaed argraff neillduol arnaf gan ffrwythlondeb y ddaiar, yr hon yr

oedd peth o honi, heb un eithrad, y frasaf a weleis erioed, ac nid oes genyf ond ychydig ammheuaeth na pharhâ dros lawer o flynydoedd i gynnyrchu cnydau rhagoral o yd heb ddim gwrtaith, ac heb ond ychydig o draul i'w thrin."

Mr. JOHN LOGAN, Earlston, Berwick, a ddywed.—"Mae yr holl dir o amgylch y parth hwn (Assiniboin) yn dda iawn; y mae yn bedair troedfedd o ddyfnder o dir tywyll bras, megys y gwelsom yn y pwll gro."

Mr. JOHN SNOW, Midlothian:—"Gwelsom bridd du tyfol yn cuddion wyneb o 18 modfedd i ddwy, tair, a phedair troedfedd o ddyfnder."

Mr. JOHN MAXWELL, Carlisle.—"Y tir trwy'r wlad sy dir du bras, 6 modfedd i 6 troedfedd o drwch, bron yn hollol rydd o gerryg, ac yn amrywio yn ei ansawdd yn y gwahanol barthau, a'r is-weryd o glai cryf neu fwil, neu ar dywod."

14. **Cnydau Cyfartal.**—Y mae'r gwenith, gyda'u gilydd, ym Manitoba a'r Gogledd-Orllewin, yn rhoddi fel yr ymddengys, o 20 i 40 mwysel y cyfair, ac o 60 i 66 o bwysau. Ceir o haidd a cheirch gnydau da, gyda'u gilydd, ac felly hefyd o'r bwytatwys ac ereill o gnydau gwraidd.

Y ffugrau canlynol, allan o adroddiadau dirprwywyr y deiliaid amaethyddol yn Lloegr ac Ysgotland, a allant fod hefyd yn ddyddorol ar y pen hwn:

Mr. JAMES BIGGAR, o'r Grange, Dalbeattie, a ddywed:—"Clywsom ddywediadau pur wahanol am gynnyrch y gwenith, yn amrywiaw o 25 i 30 mwysel. Cafodd McLean, amaethwr ger llaw Portage, 1230 mwysel o wenith Fife oddi ar 40 cyfair. Dyn arall, genedigol o Sir Ross, yr hwn a arddai ei dir ei hun, a ddywedodd wrthym ei fod ef wedi cael cnydau olynol am 17 flynedd, a bod ei gnwd diweddaf yn 35 mwysel y cyfair. Dywedodd Mr. Bryan, A.S., awdurdod dda, y gellid yn ddiogel gymmeryd cyfartaledd y gwenith yn 25 i 30 mwysel, a cheirch yn 60 mwysel. Dranoeth aethom drosodd i dyddyn y Mrd. Riddles; yr oedd eu gwenith, gyda'u gilydd, yn llawn 30 mwysel y cyfair."

Mr. GEORGE COWAN, Glenluce, Wigton, a ddywed.—"Tyddyn Mr. Mackenzie, yn Burnside, y mae, tua 9 milltir o Portage la Prairie . . . Bu mor garedig a rhoddi i mi gyfartaledd ei gnydau am y tymmorau 1877 ac 1878, a'i amcan am y flwyddyn bresennol. Cnwd gwenith, 1877, 41 mwysel; 1878, 40 mwysel; canolbwys, 60 i 62 pwys; ond y mae wedi codi peth mor uchel a 64 pwys y mwysel. Ceirch, 1878, cafodd gnwd o 88 mwysel oddi wrth 2 fwysel o hadyd a hauasid ar un cyfair o dir; 1879, ei amcan yw, o 75 i 80 mwysel y cyfair. Y mae Mr. M. yn codi hefyd gnydau gwraidd rhagorol, ac y mae ei faip neu erfin Sweden yn rhoddi o 30 i 35 tynell; a bwytatwys, heb drafferth yn y byd i'w trin, dim ond ambell waith eu priddo, a roddant rhwng 300 i 400 mwysel o 60 pwys. Y mae winwyn hefyd, pan godir hwynt, yn dra chnydfawr, gan roddi gryn 300 mwysel y cyfair. Y mae y mangold hefyd yn tyfu yn gnydau tra thrymion, ond ni welais ddim o honynt ar y ddaiar."

"Treuliasom ychydig amser ar dyddyn Mr. McBeth, a cherddasom dros faes, yr hwn, fel y'm hyspyswyd, oedd wedi bod dan gnwd am 54 mlynedd olynol . . . Dywedwyd wrthyf y rhoddai, ar gyfartaledd, 28 neu 30 mwysel y cyfair."

Y mae yr holl ddirprwywyr ereill yn cadarnhau y ffugrau hyn.

15. **Cyfraith Rhydd-fraint Cartrefle.**—Ym Manitoba pasiwyd Cyfraith Rydd-fraint Cartrefle (Homestead Exemption Law) yn 1872, yr hon sy'n rhyddhau rhag attafael am ddyled 160 cyfair o dir, tŷ, ystablau, ysguboriau, dodrefn, arfau gwaith, offer llafurwaith mewn gwaith, un fuwch, dau eidion, pedair dafad, dau fochyn, a phorthiant am 30 diwrnod ar gyfer y cyfryw.

---

## (B) ONTARIO.

1. **Rhad Roddion o Dir.**—Gall pob penteulu gael rhad rodd o 200 cyfair o dir, a gall y neb a fyno, os bydd yn 18 mlwydd oed, gael 100 cyfair ym mharthau y rhoddion rhad. Y telerau yw y rhai hyn; Bod 15 cyfair o bob rhodd o 100 i gael eu clirio a bod dan gnwd o fewn pum mlynedd; codi tŷ cyfanneddol, o leiaf yn 16 troedfedd wrth 20; a phreswylio ar y tir o leiaf 6 mis o bob blwyddyn. Rhoddir y freinteb (neu insel agored) ym mhen 5 mlynedd.

2. **Pris y Tiroedd.**—Gellir prynu tiroedd heb eu clirio am brisiau yn amrywiaw o 2*s.* i 40*s.* y cyfair. Gellir prynu tyddynau wedi eu harllwys a'u gwelläu am o £4 i £10 y cyfair. Gellir yn gyffredin dalu yr arian bob amser bob yn hyn a hyn yn rhedeg dros amryw flynyddoedd.

3. **Ansawdd y Tir.**—Y mae ansawdd tir y wlad yn amrywio mewn gwahanol fanau, ond y mae llawer iawn o hono yn dir o'r fath oreu i ddibenion amaethyddol.

4. **Hinsawdd.**—Y mae yr hin yn bur debyg i'r peth ydyw mewn rhai rhanau ereill o'r Arglwyddiaeth. Y mae ydau, porfëydd, a gwreiddiau yn cynnyrchu yn rhagorol, a thyf y ffrwythau mewn helaethrwydd mawr; y mae y cywarch, tybacco, a betys at wneyd siwgr, yn cnydio yn ennillfawr hefyd; y mae gwenith India a'r tomatwys yn addfedu yn dda; ac y mae yr afalau gwlanog a'r grawnwin yn dyfod i berffeithrwydd yn yr awyr agored.

5. **Cyfleusderau Tramwyaeth.**—Y mae gan y dalaith gyfryngau tramwyaeth rhagorol, ar reilffyrdd, ac ar y dwfr trwy y Llynau a'r Afon St. Lawrens, rhwng holl ranau yr Arglwyddiaeth ac â'r Môr Atlantig.

6. **Addysg.**—Y mae yr ysgolion cyhoeddus yn rhydd ac yn ansectarol. Caniateir i'r holl blant trigiannol rhwng 5 a 21 fyned iddynt.

7. **Dinasoedd a Threfi.**—Y mae amryw o ddinasoedd a threfi mawrion yn y dalaith hon; ym mhlith ereill, Toronto, Ottawa, Hamilton, London, Kingston, etc.

8. **Mwyn.**—Y mae ei chyfoeth mewn mwyn yn helaeth, megys haiarn, copr, plwm, arian, mynor, creigolew, halen, ffoddawd calch, etc. Y mae ei choedwigoedd dirfawr o ffawydd yn hyspysddigon.

9. **Gweithfaoedd ac Allforion.**—Y penaf ym mhlith y pethau a wneir ynddi ydyw, brethyn, lliain, dillad, lledr, dodrefn, coed llifiedig, llin, haiarn a chaled-nwyddau, papyr, sebon, defnyddiau cotwm a gwlan, agerbeiriannau o wahanol fathau, pethau coed o bob math, offer llafurwaith, etc. Allforir llawer iawn o wartheg, defaid, a moch o'r dalaith hon, ac y mae'r fasnach yn prysur gynnyddu.

10. **Cyfartaledd Cyflogau, Pris Byrddio, ac Ardreth Tai yn Ontario.**—*Rhandir Toronto.* Gweithwyr tyddyn, y dydd, heb fwyd, 3*s.* 6*c.* i 4*s.*; yr wythnos, gyda bwyd, 12*s.* i 14*s.*; morwynion tyddyn, gyda bwyd, y mis, 20*s.* i 30*s.*; gweithwyr cyffredin, y dydd, 8*s.*; seiri meini, 8*s.*; seiri priddfaen, 10*s.*; seiri coed, 7*s.*; llusgwyr coed, 5*s.*; seiri llongau, 6*s.*; gofiaid, 6*s.*; seiri olwynion, 6*s.*; garddwyr, gyda bwyd, 16*s.* yr wythnos; heb fwyd, 5*s.* y dydd; mwynwyr, 4*s.*; dwylaw melinau, 5*s.* 6*c.*; cyfrwywyr, 6*s.*; cryddion, 6*s.*; teilwriaid, 6*s.*; cogesau, y mis, £1 2*s.* i £2 10*s.*; morwynion cyffredin, £1 5*s.* i £1 10*s.*; golchyddesau, £1 12*s.* i £1 18*s.*; pris ymborth, 12*s.* yr wythnos; ardreth tŷ o £1 i £1 12*s.* y mis.

*Rhandir Ottawa.*—Yr oedd gweithwyr tyddyn o ymfudwyr yn y cael y flwyddyn hon yn ystod y cynhauaf o £3 8*s.* i £5 8*s.* y mis, heb ymborth; derbyniai ereill, £2 10*s.* i £3 5*s.* y mis, gyda bwyd; morwynion tyddyn, £1 8*s.* y mis gyda bwyd; gweithwyr neu lafurwyr cyffredin, y dydd, 5*s.* i. 6*s.*; seiri meini, 10*s.* (ychydig iawn sydd yn eisieu); seiri priddfaen, 10*s.* (ychydig iawn sydd

yn cisieu); seiri coed, 6*s*. i 7*s*.: trinwyr coed, y mis, gyda bwyd, £3 15*s*. i £8 8*s*.; gofiaid, 4*s*. i 6*s*. y dydd; seiri olwynion, £3 15*s*. i £5 5*s*.; garddwyr, £3 15*s*. i £4 4*s*.; mwynwyr, y dydd, 6*s*.; dwylaw mewn melinau, 5*s*. i 8*s*.; cyfrwywyr, yr wythnos, heb fwyd, £1 8*s*. i £2 2*s*.; cryddion a theilwriaid, a allant ennill wrth weithio wrth y gorchwyl, £1 5*s*. i £2 2*s*. yr wythnos; cogesau, y mis, £2 2*s*.; morwynion teulu, £1 5*s*. i £1 18*s*.; golchyddesau, £1 10*s*.; ymborth, yr wythnos, 10*s*. i 14*s*.; ardreth tŷ, 14*s*. i £1.

11. **Tystiolaethau o blaid Ontario.**—Ymwelodd y Proffesor Sheldon, awdurdod ragorol ar byunciau amaethyddol, â Chanada flwyddyn neu ddwy yn ol, ac y mae wedi cyhoeddi ffrwyth ei sylwadau mewn llyfryn bychan. (Gweler tudalen ym mlaen.)

Yn hydref 1879 ymwelodd amryw o ddeiliaid amaethyddol, yn cynnrychioli gwahanol ranau o'r Deyrnas Gyfunol, â Chanada, er mwyn gwneuthur adroddiadau ar ei chymhwysderau a'i hadnoddau amaethyddol i'w cyfeillion gartref. Y mae ychydig ddetholion o'u hadroddiadau yn dwyn cystylltiad â Thalaith Ontario fel y canlyn:—

Mr. Biggar, Y Grange, Dalbeattie.—"Cymharai llawer iawn o Orllewin Ontario yn dra manteisiol â rhai parthau o Loegr. Y mae'r tir yn dda, ac yn cael ei drin yr lled wych. Y mae cyflawnder hoddhaol o goed, ac y mae tai yr amaethwyr mewn llawer amgylchiad yn dra destlus a chysurus. Y mae arnynt, mewn gair, agwedd coethder a llwyddiant tu hwnt i'r disgwyliad mewn gwlad newydd mewn cymhariaeth. Credwn y bydai anhawdd cael mewn un wlad o gyffelyb faintioli gynnifer o ddynion ag a wnaethant mor dda ag amaethwyr Ontario. Y mae llawer o'r rhai a aethant allan 30 a 40 mlynedd yn ol heb ddim ganddynt, yn awr yn berchen ar eu ffermau a'u hanifeiliaid eu hunain, gwerth £2000 i £6000. Y mae, modd bynnag, gryn lawer o honynt â margeisiau ganddynt ar eu tyddynau am gryn swm o arian, am y rhai y talant 7 ac 8 punt y cant o log. Y mae hyn, gyda'r tymmorau drwg, ac ymfudiad i'r gogledd-orllewin, yn rhoi rheswm am y nifer mawr o dyddynau sydd yn awr ar werth. Gallaf nodi yma nad yw yr arfer o osod tir mor gyffredin yno ag yn y wlad hon. Gosodir y ffermau yn unig o flwyddyn i flwyddyn, a chan y tybir fod y deiliad, yn yr amgylchiadau hyn, yn cymmeryd allan gymmaint ag a allo, y mae perchenogion yn barotach i werthu nag i osod ar rent. Ar yr un pryd, mae yn bosibl cael ffermau ar rent, a gwnelai ymfudwyr o'r wlad hon yn dda pe cymmerent fferm ar rent am flwyddyn neu ddwy, hyd oni chaffont amser i edrych o'u hamgylch."

Mr. Thomas Irving, Bowness.—"Carai y Canadiaid eu gwlad; ac

aeth llawer o hen bobl, a ddaethent drosodd i Loegr, gan fwriadu diweddu eu hoes ynddi, yn eu hol drachefn. Hoffant hinsawdd Ontario yn well na hinsawdd Lloegr. Nid peth cyffredin oedd tywydd mwll, trymllyd allan yno, ac nid oedd yn gwlawio bob dydd, ond pan y gwlawiai, yn oedd hi yn tywallt. Cynghorai y sawl a fwriadent ymfudo, fyned i Ontario, lle y mae pethau yn bur debyg i gartref; caent ffyrdd da, ysgolion da, eglwysi o bob enwad, digon o gyfleusderau tramwy gan ffyrdd haiarn; mewn gair, yr oedd gwareiddiant yn llawn cyn belled ym mlaen yno ag yn Bowness, os nid ym mhellach felly. Byddai lawer gwell talu ychydig chwaneg am dir yno na myned 1500 milltir i fyny i'r wlad, gyda thebygolrwydd na welent bapyr newydd am ddeuddeg mis."

Mr. George Wilkes, Aberdeen.—"Aethym i arddangosfa y cnydau gwraidd yn London, Ontario, a synodd arnaf fwy na'r lleill oll. Ar fy nhaith gwelais rai caeau da o faip Sweden a mangold; ond ni ddisgwyliaswn weled maip Sweden, mangold, a bwytatwys a daflent ein harddangosion penaf ni y *flwyddyn hon* i'r cysgodau. Yn oed Mr. Stock yn bur galed am ddim ond caniatäu y gallent fodd yn ein curo ni y flwyddyn hon yn unig. Yn nesaf cymmerasom olwg ar y ffrwythau. Yma y gwelais, ac y profais hefyd, ffrwythau o bob lliw ac archwaeth. Rhoddaf ryw amcan am yr arddangosfa afalau pan ddywedaf fod amrywiaethau mewn adranau yn amrywiaw o 6 i 42, ac yr oeddynt oll yn gyfryw ag nas gwelswn erioed o'r blaen. Yr oedd yr afalau gwlanog, y grawnwin (oll wedi eu tyfu allan), melonau, pompiynau, tomatwys, llysfer, a mwy na mwy o amrywiol ffrwythau, yn gyfryw ag nas gwelais erioed ac na chlywed am danynt."

Mr. James Palmer, swydd Somerset.—"Boddhëir fi yn fawr gan Canada, o herwydd y mae y rhagolygon yn wahanol i'r hyn ydynt yn Lloegr, yn enwedig i amaethwyr. Y mae fy meibion yn cael eu boddio yn eu calon gan y wlad a'r tyddynau. Yr wyf wedi prynu iddynt i gyd 273 cyfair, mewn dwy fferm saith milltir oddi wrth hon, yn agos i'r ffordd fawr tuag Exeter. Y mae ganddynt dŷ da ar bob un o'r ddau dyddyn, gyda pherllanau, tai allan, etc., a 75 cyfair wedi eu cau i mewn ac o dan driniaeth ar bob un o'r ddau le. Costiodd y cwbl 7500 doler—llai nag a dalwn yn ardreth am dir mewn dwy flynedd yn swydd Somerset—sef ardreth dwy flynedd y cyfair. Gallaf gryf ymmeradwyo y wlad hon i'm cyfeillion, ac ereill a fyddont yn bwriadu ymfudo."

## (C) CWEBEC.

1. **Rhad Roddion o Dir.**—Ar wyth o'r ffyrdd trefedigol mawrion, geill pob gwryw o ymfudwr, os bydd yn 18 mlynedd oed, gael rhad rodd o 100 cyfair o dir. Y telerau ydynt, bod erbyn diwedd y bedwaredd flwyddyn dŷ wedi ei godi ar y tir, a bod 12 cyfair o dan wrteithiad. Yna rhoddir breintysgrif iddo. Gellir prynu tiroedd y Goron hefyd am 30 sent i 60 sent y cyfair.

2. **Cyfraith Cartrefle.**—Y mae gan y dalaith gyfraith cartrefle, yr hon a rwystra neb i atafaelu, dan ammodau neillduol, eiddo ymfudwyr.

3. **Addysg.**—Y mae addysg elfenol yn orfodol. Dygir y draul gan gasgliad talion bychain a chan rodd hael gan y Llywodraeth.

4. **Y Tir a'i Gynnyrch.**—Y mae tir y dalaith yn fras dros ben, a gellir ei drin i'r graddau eithaf. Y mae yn gyfaddas i godi cynnyrch tra amrywiog; y mae yd, gwair, a chnydau gleision yn tyfu ym mhob man mewn helaethrwydd, os trinir y tir mewn un modd yn rhesymol. Dygir magu anifeiliaid ym mlaen ar gylch helaeth iawn, ac o fewn yr ychydig flynyddoedd diweddaf arfonwyd o Canada i Brydain Fawr mewn mawr amledd gig wedi ei ladd ac anifeiliaid, heb ddim amgenach gan y goreuon a godwyd yn Lloegr. I'w bori y mae tiroedd Cwebec yn meddu ar ragorwerth nid ychydig. Yn y rhai yn y Trefgorddau Dwyreiniol ac i'r gogledd o Ottawa, y mae rhagorion arbenig i ymsefydlwyr Prydeinig. Y mae y cynhyrfiad a roir i amaethyddiaeth trwy gydweithrediad bywiog y Llywodraeth yn effeithio mawr lesâd, ac yn peri cynnydd na fuasid byth yn meddwl am dano bum mlynedd yn ol. Yr oedd yr allforion o'r goedwig yn y cystod y fl. 1881 yn werth 9,280,238 o ddoleri; y cynnyrch amaethyddol, 9,551,745 *dr.*; ac allforion yr anifeiliaid a'u cynnyrch yn cyrhaedd y swm o 10,694.531 *dr.*

5. **Amaethyddiaeth a Threfedigiant.**—Y mae y rhan fwyaf o'r boblogaeth yn y wlad yn byw ar amaethyddiath. Maintioli cyffredin y tyddynau yw 100 cyfair; ac y mae y tyddynau yn yr hen sefydliadau yn werth, fel rheol, o 2000 i 4000 o ddoleri. Y mae meibion amaethwyr bob amser yn ymwthio yn ol i'r sefydliadau newyddion, lle y gellir prynu tyddyn wedi ei glirio mewn rhan am o ddeutu 200 o ddoleri: neu brynu cyfran o diroedd y Goron am o ddeutu 30 i 40 sent (1*s.* 3*d.* i 1*s.* 8*d.* o arian Lloegr) y cyfair; neu gymmeryd *rhad roddion* gydag ochr un o'r ffyrdd trefedigiannol. Y mae pum prif ganolbwynt trefedigiant:—*Dyffryn y Saguenay.*—Yr helaethrwydd o dir wedi ei arolygu ac ar werth yn y parth hwn sydd yng nghylch 616,600 o gyfeiriau, yr hwn mae ei bris o ddeutu 20 sent (10*c.* Lloegr). *Dyffryn y St. Maurice.*—Y mae yn nhrefgorddau y parth hwn, wedi ei arolygu, a'i

ranu yn wahanol dyddynau, 441,200 cyfair o dir, ar werth am 30 sent (1*s.* 3*c.* Lloegr) y cyfair. *Dyffryn yr Ottawa.*—Nifer y cyfeiriau a arolygwyd, ac a ranwyd yn wahanol dyddynau yn barod i gael eu gwerthu yn y parth hwn ydyw 1,358,500 o gyfeiriau, a'u pris yw 30 sent y cyfair. *Y Trefgorddau Dwyreiniol.*—Yn y rhandir fras borfaol hon y mae 992,300 o gyfeiriau o dir gwyllt, yr hwn y mae'r Llywodraeth yn barod i'w werthu am bris rhesymol. Y mae tiroedd y Llywodraeth yn y rhan hon yn gwerthu am o ddeutu 50 i 60 sent (2*s.* 1*c.* i 2*s.* 6*c.* o arian Lloegr) y cyfair. Y mae'r Trefgorddau Dwyreiniol yn cynnwys mwy na chyffredin o ddeniadau i'r amaethydd a'r gwr ag eiddo o Brydain Fawr. *Gaspe.*—Yn y rhandir hon cynnyg y Llywodraeth ar werth 491,900 o gyfeiriau o dir yn ol o 20 a 30 sent (10*c.* i 1*s.* 3*c.* o arian Lloegr) y cyfair. Heb law hon ar lan ddeheuol parth isaf y St. Lawrens, y mae'r Llywodraeth yn cynnyg gwerthu 1,432,200 cyfair, am 30 sent (1*s.* 3*c.* Lloegr) y cyfair.

6. **Cyfryngau Tramwyaeth.**—Ceir hyn gan y ffyrdd haiarn a chan yr Afon St. Lawrens. Cynnwys y dalaith y ddau borthladd mawr i longau, Montreal a Cwebec, y rhai y mae, yn y ddwy, lleoedd helaeth a chyflëus i lwytho llongau, a geill llestri morawl o 4000 o dynellau gael eu hangori gydag ochr y llwythfaoedd (neu'r ceiau).

7. **Dinasoedd.**—Y dinasoedd penaf yw Cwebec (neu Quebec) a Montreal, ac y mae llawer o drefi mawrion.

8. **Mwyngloddiau a Physgodfeydd.**—Y mae aur, plwm, arian, haiarn, copr, platinum, etc., i'w cael; ond yn ei mabandod y mae mwyngloddiaeth eto yn y rhandir hon. Y mae cloddio am ffoddawd (phosphate) yn dyfod yn waith pwysig yma; a chydnabyddir ei werth fel gwrtaith i ffrwythloni tir gan Loegr a Ffrainc, a gyrir llawer iawn o hono allan o'r wlad. Y mae digon o bysgodfëydd, ac yn 1882 caed o honynt werth 976,515 o ddoleri.

9. **Cyflogau ar Gyfartaledd, Pris Ymborth, ac Ardreth Tai yn Nhalaith Cwebec.**—Gweithwyr ar dyddyn, y dydd, heb ymborth, 4*s.* i 6*s*; y mis, gydag ymborth, £3 i £5 10*s.*; morwynion ar dyddynau, £1 5*s.* i £2 2*s.*; gweithwyr neu lafurwyr cyffredin, y dydd, 4*s.* i 6*s.*; gweithwyr ar reilffyrdd, 5*s.* i 6*s.*; seiri meini, 6*s.* i 9*s.*; seiri priddfaen, 6*s.* i 9*s*; seiri coed, 6*s.* i 9*s.*; trinwyr coed,

gydag ymborth, 6s. i 8s.; seiri llongau, y dydd, 6s. i 8s.; gofiaid, 6s. i. 8s.; seiri olwynion, 6s. i 8s.; garddwyr, gydag ymborth, y mis, £4 i £5; heb ymborth, y dydd, 4s. i. 6s.; mwynwyr, 6s. i 8s.; dwylaw melinau, 4s. i 6s.; gyrwyr peiriannau, 7s. i 10s.; cyfrwywyr, 8s. i 10s.; cryddion, 5s. i 8s.; teilwriaid, 4s. i 6s.; cogesau, y mis, £1 12s. i £2 2s.; golchyddesau, y dydd, 3s. i 4s.; pris ymborth, yr wythnos, 12s. i 16s.; ardreth tai crefftwyr â llafurwyr, £1 5s. i £1 12s. y mis.

---

## (D) BRUNSWICK NEWYDD.

1. **Rhad Roddion o Dir.**—Gellir cael rhodd o 100 cyfair o dir gan y neb a fyno ar y telerau hyn: Ar dalu 20 doler mewn arian i gynnorthwyo gwneuthur ffyrdd a chloddiau, neu waith a fyddo yn werth 10 doler y flwyddyn am dair blynedd. Tŷ i gael ei godi o fewn 2 flynedd. Deg cyfair i gael eu clirio a'u gwrteithio mewn 3 blynedd. Prawf o fod wedi preswylio ar y tir.

2. **Y Tir a'i Gynnyrch.**—Y mae y tir yn ffrwythlawn, ac yn cynnyrchu pob math o ffrwythau a godir yn gyffredin yn Lloegr. Cynnyrch cyfartal y gwenith yw 20, haidd 29, ceirch 34, gwenith Ffrainc (gwenith yr hydd) 33, rhyg 20, yd India 41, bwytatwys 226, maip 466, o fwyseli y cyfair. Y mae'r bwytatwys a'r ffrwythau yn cyrhaedd prisiau da ym marchnadoedd Lloegr.

3. **Gweithfaoedd.**—Adeiladu llongau sydd un o brif orchwylion gwastadol y dalaith, ond y mae ei gweithiau masnachol yn gyffredin yn cynnyddu yn gyflym. Y mae gweithfaoedd gwlan a chotwm, botasau ac esgidiau, lledr, cerbydau, nwyddau coed, papyr, sebon, caled-nwyddau, etc., etc.

4. **Hinsawdd.**—Yn Brunswick Newydd y mae yr haf yn gynhesach a'r gauaf yn oerach nag yn Lloegr; ac y mae tymmeredd yr hin yn amrywio yn y parthau mewnol o 92° uwch law y rhew-bwynt i 18° is law y rhew-bwynt (Fahrenheit); ond yn anfynych y mae holl nifer y dyddiau y mae y tymmeredd is law y rhew-bwynt uwch law 20. Anfynych y mae yn dygwydd fod yr arian byw is law y rhew-bwynt am 4 diwrnod olynol. Yn gyffredin y mae y gauafau yn hyfryd, ac nid yw ychydig ddyddiau o oerfel eithafol ddim mewn cymhariaeth i'r tywydd teg

a geir yn gyffredin. Nid yw pobl yn byw yn Brunswick Newydd yn goddef mwy, os cymmaint, oddi wrth oerfel a'r rhai sydd yn byw Mhrydain Fawr a gwledydd ereill lle y mae gauafau yn llaithach a thymmeredd y tywydd yn llai sefydlog. Dygir pob gorchwylion a masnach ym mlaen yr un mor fywiog yn y gauaf ag yn yr haf, ac nid yw pobl yn gwisgo mwy na gwahanol o ddillad nag a wisgir yn Lloegr a'r rhanau ereill o Ogledd Ewrop.

5. **Cyfartaledd Cyflogau, Pris Ymborth, ac Ardreth Tai yn Brunswick Newydd.**—Gweithwyr tyddyn, y dydd, heb fwyd, 3*s.* 6*c.* i 4*s.*; yr wythnos, gydag ymborth, 12*s.* 6*c.* i 14*s.* 6*c.*; morwynion tyddyn, y mis, gyda bwyd, 18*s.* 6*c.* i £1 5*s.*; gweithwyr neu lafurwyr cyffredin y dydd, 5*s.* 6*c.* i 8*s.*; gweithwyr ar reilffyrdd, 4*s.* i 5*s.*; seiri meini, 9*s.* i 10*s.*; seiri priddfaen, 11*s.* i 12*s.* 6*c.*; seiri coed, 5*s.* 6*c.* i 8*s.*; trinwyr coed, y mis, gyda bwyd, £3 5*s.* i £4 16*s.* (heb wneyd ddim gwaith arall); seiri llongau, 6*s.* i 7*s.*; gofiaid, 6*s.* i 6*s.* 6*c.*; seiri olwynion, 8*s.* i. 12*s.* 6*c.*; garddwyr, gydag ymborth, yr wythnos, £1 12*s.* i £2; heb ymborth, y dydd, 4*s.* i 4*s.* 6*c.*; mwynwyr, 3*s.* i 3*s.* 6*c.*; dwylaw melinau, 5*s.* i 6*s.* 6*c.*; gyrwyr peiriannau, y mis, £7 5*s.* i £13 (gyda'u gilydd, £12); cyfrwywyr, y dydd, 4*s.* i 6*s.*; cryddion, 5*s.* i 8*s.*; teilwriaid, 6*s.* i 8*s.*; cogesau, y mis, £1 12*s.* i £2 10*s.*; morwynion teuluaidd, £1 5*s.* i £1 12*s.*; golchyddesau, yr wythnos, 12*s.* 6*c.* i 16*s.* 6*c.*; traul ymborth, yr wythnos, yn amrywio, 12*s.* i £1; ardreth tai gweithwyr, y flwyddyn, £6 i £7 5*s.*; y mis, 12*s.*

---

## (E) NOVA SCOTIA.

1. **Tir.**—Nid oes llawer iawn o dir ar werth yn y dalaith hon. Y pris yw 44 doler y 100 cyfair (o ddeutu, £9), ond rhoddir rhad roddion, modd bynnag, i ymsefydlwyr gwirioneddol.

Y mae hefyd lawer o dyddynau diwylliedig da i'w cael yng ngwahanol barthau y dalaith gan eu dalwyr presennol ar delerau rhesymol; ac y mae lleoedd o'r fath yn ddiammheu yn bur gyfaddas i amaethwyr o ddeiliaid ym Mhrydain a manau ereill, gydag ychydig o eiddo ganddynt, mewn gwlad sydd yn cynnyg i bawb o'r cyfryw holl gyfleusderau a chysuron gwareiddiant, yng nghyd â

dichonoldeb o ddilyn galwedigaeth a fyddo yn unol â'u natur gyda chanlyniadau ennillfawr.

2. **Ansawdd y Tir.**—Y mae'r tir yn cynnyrchu cnydau o ydau a gwreiddiau, a chodir llawer iawn o afalau i'w hallfori. Y mae'r gwenith, ar gyfartaledd, yn 18 mwysel y cyfair; rhyg, 21; haidd, 35; ceirch, 34; gwenith Ffrainc, 34; yd India, 42; maip neu erfin, 420; bwytatwys, 250; mangold, 500; ffa, 22, o fwyseli; gwair, 2 dynell.

3. **Pysgodfëydd.**—Y mae pysgodfëydd Nova Scotia o bwys nid bychan i'r dalaith honno. Yn 1883 yr oedd nifer y llestri pysgota ar waith yn 708; nifer y badau 11,982; nifer y gwŷr, 28,500. Y swm o bysg penfras a ddaliwyd ydoedd 721,979 o ganpwysau; o fecryll, 88,603 o farileidiau; o'r hadog, 160,041 o ganpwysau; o ysgadan, 205,070 o farileidiau; o geimychiaid, 4,870,339 o gibyneidiau. O olew pysg, cafwyd y swm o 521,850 o alwyneidiau. Cyfanswm gwerth pysgodfëydd y dalaith am 1883 ydoedd 7,689,874 o ddoleri.

4. **Mwyngloddiau.**—Y mae y dalaith hon yn nodedig hefyd am ei mwyn, yn enwedigol am ei chronfëydd o lo, haiarn, ac aur. Gweithir ei chloddfëydd yn helaeth yn Cape Breton, Pictou, a Cumberland y mae cryn lawer o'r swm a godir yn myned at wasanaeth cartrefol; y prif allforion o hono sydd i'r Taleithiau Cyfunol a phorthladoedd tramor ereill, ac i daleithiau ereill Canada. Y cyfanswm o gynnyrch y glo am 1883 ydoedd 1,297,523 o dynellau. Swm cynnyrch yr cloddfëydd aur yn yr un flwyddyn ydoedd 15,446 wns; mwyn haiarn, 58,136 o dynellau; glyfaen neu fynorglai, 144,668 o dynellau. Y mae cronfëydd gwerthfawr o fwyn haiarn rhagorol i'w cael mewn gwahanol barthau o'r dalaith, y rhai yn ddiweddar sydd wedi tynu sylw gwŷr ag arian, y rhai sydd wedi codi ffwrneisiau gyda'r amcan o'u gweithio ar gylch eang.

5. **Gweithfaoedd.**—Y mae cryn lawer o nwydd-weithfaoedd yn ymgodi yn Nova Scotia. Y mae gweithiau dur yn Londonderry a New Glasgow. Y mae hefyd goethfëydd siwgr, gweithfaoedd cotwm, melinau gwlan ac wsted, a gweithiau gwydr, y rhai a agorant leoedd y weithwyr medrus.

6. **Addysg.**—Y mae addysg yn dra chyffredinol, a chynnelir y cyfryw mewn rhan gan drethiad i'r perwyl, yng nghyd â rhoddion blynyddol haelionus oddi wrth lywodr-

aeth y dalaith, yr hyn yn 1880 ydoedd yng nghylch 169,000 o ddoleri. Yr holl draul at gynnal ysgolion cyhoeddus yn y flwyddyn honno ydoedd 557,765 o ddoleri. Yn yr ysgolion cyffredin, y rhai sy dan reolaeth y Llywodraeth, tybir fod nifer cyfartal yr ysgolheigion a ânt iddynt yn feunyddiol tua 100,000, ac y maent oll yn rhyddion.

7. **Ffyrdd Haiarn.**—Y mae amryw reilffyrdd yn y dalaith, y rhai a hwylusant ei chyfryngau tramwyol â rhan ereill Canada. Halifax, yr hon yw prif ddinas y dalaith, yw porthladd gauaf yr Arglwyddiaeth. Y mae iddi longborth rhagorol, a chyssylltir hi gan reilffyrdd â holl barthau ereill y cyfandir.

Halifax yw y porthladd y mae y rhan fwyaf o fasnach yr Arglwyddiaeth â'r India Orllewinol yn myned trwyddo. Hi hefyd yw prif orsaf Ysgadran Gogledd America o Lynges ei Mawrhydi. Yn Halifax y mae puro siwgr yn dyfod yn orchwyl pwysig; y mae gweithfaoedd, yn enwedig gweithfaoedd cotwm, yn lluosogi bob blwyddyn yn y dalaith, tra y mae Londonderry a New Glasgow yn cymmeryd safle pwysig ym masnach yr haiarn a'r dur.

Nis gall y nifer mawr o longau a feddiennir gan Nova Scotia lai na thynu sylw. Y mae gan y dalaith boblogaeth o 440,572; ac y mae tynelliaeth ei llongau yn dyfod i 541,715 o dynellau, peth nad oes dim cyfartal iddo mewn un wlad arall.

8. **Cyfartaledd Cyflogau, Traul Ymborth, ac Ardreth Tai yn Nova Scotia.**—Gweithwyr tyddyn, y dydd, heb ymborth 4*s.* 6*c.*; y mis, gyda bwyd, £3 5*s.* i £4 4*s.*; morwynion tyddyn, 16*s.* i 25*s.*; gweithwyr cyffredin, y dydd, 4*s.* i 5*s.*; gweithwyr ar reilffyrdd, 4*s.* i 5*s.*; gwneuthurwyr berwedyddion, 8*s.*; seiri meini, 10*s.*; seiri priddfeini, 10*s.*; seiri coed, 9*s.*; trinwyr coed, 6*s.*; seiri llongau, 10*s.*; gofiaid, 8*s.*; seiri olwynion, 6*s.* 6*c.* i 12*s.*; garddwyr, y mis, gydag ymborth, £3 15*s.* i £6; y mis heb ymborth, £5 5*s.* i £8; mwynwyr, 5*s.* i 6*s.*; dwylaw melinau, y dydd, 4*s.* 6*c.* i 5*s.*; gyrwyr peiriannau, 7*s.* i 9*s.*; cyfrwywyr, yr wythnos, £1 5*s.* i £2 10*s.*; cryddion, y dydd, 5*s.*; teilwriaid, yr wyth, £2 5*s.* i £2 10*s.*; pris ymborth, yr wythnos, 12*s.* 6*c.* i 14*s.* 6*c.*; ardreth tŷ, y flwyddyn, £3 i £5.

## (F) YNYS Y TYWYSOG EDWARD.

**Pris Tiroedd.**—Y mae y rhan fwyaf o'r tir yn y dalaith hon wedi ei brynu eisoes, ond gellir cael ffermau wedi eu gwella am o ddeutu £4 y cyfair. Y mae yr ynys hon yn cynnyrchu cnydau rhagorol o ydau, ac y mae yn glodfawr am ragoroldeb ei cheirch. Y mae ceffylau, gwartheg, a defaid mewn helaethrwydd, a llefarir yn uchel dros ben am y wlad gyda golwg ar ffrwythlondeb y tir a'i radlonrwydd.

---

## (G) COLUMBIA BRYDEINIG.

1. **Darluniad Cyffredinol.**—Y dalaith yma, yr hon a gynnwys Vancouver's Island (Ynys Vancouver), yw y fwyaf gorllewinol o'r holl daleithiau sy'n cyfansoddi Arglwyddiaeth Canada. Ei therfynau yw y Mynyddoedd Creigiog ar du y dwyrain, a'r Môr Tawel tua'r gorllewin. Y mae ynddi lawer o borthladdoedd teg, ac un o'r rhai hyn, sef Coal Harbour, sydd wedi ei ddewis i fod yn derfynfa y Canadian Pacific Railway. Megys y crybwyllir mewn man arall, y mae y rheilffordd hon eisoes ar waith hyd derfyn dwyreiniol y dalaith. Y mae llawer o'r gwaith yn Columbia Brydeinig wedi ei orphen, ac eir ym mlaen yn gyflym gyda'r gweddill; yn wir, disgwylir yn hyderus y bydd y llinell o'r Atlantig i'r Môr Tawel wedi ei gorphen a'i hagoryd i fasnach yn hydref y flwyddyn 1885. Dylai hyn roddi mwy cyffrawd yn y dalaith nag a deimlodd erioed o'r blaen. Gellir crybwyll hefyd fod y rheilffordd rhwng Nanaimo a Victoria, ar Ynys Vancouver, i gael ei gwneuthur gyda phob brys dichonadwy.

Gellir prynu tiroedd arolygedig ac anarolygedig am un doler y cyfair, i'w dalu yng nghorff dwy flynedd, a chostia tyddynau diwylliedig o £1 i £8 y cyfair.

Geill ymsefydlwyr milwrol a moryddol gael rhad roddion o dir.

Y mae yn Columbia Brydeinig helaethrwydd mawr o dir coed gwerthfawr; pysgodfeydd cynnyrchiol, y rhai a gynnyddant yn eu gwerth bob blwyddyn; ceir aur a glo hefyd mewn mawr gyflawnder. Yr oedd cynnyrch yr aur o 1858 i 1885 yn werth o ddeutu hanner can miliwn o ddoleri.

I gyrhaedd Columbia Brydeinig rhaid teithio, yn bresennol o Cwebec neu New York i San Ffrancisco neu Portland, Oregon, a chymmeryd y bad oddi yno i Victoria. Yn 1885–6, modd bynnag, bydd cyfrwng tramwyaeth yr holl ffordd, i gyd trwy diriogaeth Brydeinig, i Columbia Brydeinig. Y pryd hyny geill ymdeithwyr dirio yn Cwebec neu Halifax, a theithio o'r dechreu i'r diwedd ar daith y Tawelfor heb angenrheidrwydd am gymmaint a newid cerbydau. Nis gellir gorbrisio pwysigrwydd hyn, a rhaid y bydd ei effaith ar gynnydd a llwyddiant Columbia Brydeinig yn fawr. Bwriedir hefyd redeg agerlongau o Columbia Brydeinig i China, i Japan, ac i Awstralia. Y teithlogau presennol gyda'r rheilffordd o Borthladdoedd yr Atlantig i San Ffrancisco neu Portland sydd yng nghylch £28 y dosparth cyntaf, a £13 am ymfudwyr, gyda'r gostyngiadau arferol am blant. Y teithlog iselaf o San Ffrancisco i Victoria sydd o ddeutu £2; a llai o Portland. Modd bynnag, ceir pob manylion gyda golwg ar y teithlogau trwyol, a'r cyfryw, gan Gwmpeiniau yr Agerlongau.

Goruchwyliwr Llywodraeth Talaith Columbia Brydeinig yn Llundain yw Mr. H. C. Beeton, 33, Finsbury Circus, E.C.

---

## PENNOD IV.

## YR EGLWYS AC ADDYSG YN CANADA.

**1. Hyfforddiant Eglwysig.**—Nid oes Eglwys Sefydledig yn Canada; ac y mae pob enwad o Gristionogion yn gydwastad â'u gilydd, ac nid yw y Llywodraeth yn ymyryd ond yn unig gyda golwg ar addysg fydol neu gyffredin. I ddibenion Eglwysig y mae'r cyfandir wedi ei ranu yn 17 o Esgobaethau, sef:—Fredericton, Nova Scotia, Cwebec, Toronto, Montreal, Huron, Ontario, Algoma, Niagara, Rupert's Land, Sascatshewan, Assiniboia, Moosonee, Athabasca, Columbia, Caledonia, a New Westminster.

Y mae gan bob esgobaeth ei hesgob, a nifer lliosog o offeiriaid. Pa bryd bynnag y bo eisieu eglwys, dylid ysgrifenu at yr esgob neu yr offeiriad agosaf, a hwy a gydweithredant yn ddiau â thrigolion y lle tuag at godi un.

O'r hyn lleiaf, gellir cael gwasanaeth yr offeiriad bob

amser i fedyddio eich plant, i briodi ac i gladdu, ac o bryd i bryd i weinyddu'r Cymmun Bendigaid, ac y mae yr Esgobion yn cynnal mynych gonffirmiadau.

2. **Trefn Addysg.**—Yn Ontario y mae trefn addysg yn rhydd ac yn orfodol yn yr ysgolion cyhoeddus neu gyffredin, a chaiff yr ysgolheigion gyfleusderau i gael cylch da sylweddol o addysgeidiaeth, ac i basio i'r uchel ysgolion a'r colegau ar ammodau esmwyth.

Yn Cwebec a'r Taleithiau Arfordirol dygir addysg ym mlaen ar egwyddorion eang hefyd.

Ym Manitoba a'r Diriogaeth Ogledd-Orllewin arolygir y tir yn ardaloedd bychain o chwech milltir bob ffordd, yn cynnwys yn y cyfan 36 adran o filltir ysgwâr; cedwir dwy o'r adranau hyn ym mhob ardal gan y Llywodraeth yn ei llaw ei hun i ddarparu trysorgyff er sefydlu ysgolion fel y byddo galw am danynt, a chynnorthwyir addysgiaeth hefyd o bryd i bryd â rhoddion o arian y wlad, heb ymofyn dim am olygiadau crefyddol.

Ym mhob pentref a fyddo yn ymgodi, ceir cyfleusderau i gyrhaedd addysg rydd, ac afraid i neb ofni un anhawsder i ddarparu addysg ar gyfer eu teuluoedd.

Y mae prifysgol, ar gynllun Prifysgol Llundain, ym Manitoba, yn agored i'r sawl a fynont gyrhaedd addysg o uwch gradd nag a geir yn yr ysgolion rhydd cyffredin.

3. **Cymdeithas Ymsefydlwyr Eglwys Loegr yn Esgobaeth Rupert's Land** ar gyfer ymsefydlwyr ym Manitoba a'r Gogled-Orllewin.

Y mae'r Gymdeithas hon newydd ei sefydlu, a chymmeradwyir ei hamcanion i sylw ac ystyriaeth pawb sydd yn bwriadu ymsefydlu yn y rhanau hyny o Canada.

Erthygl II. o'r Cyfansoddiad a ddadgan fod yr amcanion hyn fel y canlyn:—

Gwahodd pob ymsefydlwr yn y Gogledd-Orllewin, a fyddo, neu a fo yn dymuno dyfod, yn aelod o Eglwys Loegr, i roddi ei hunan, yn uniongyrchol ar ei ddyfodiad i'r dalaith hon, mewn dealltwriaeth neu ohebiaeth â swyddogion y Gymdeithas, y rhai a roddant iddo:—

I. Cynghor a hyfforddiad ar unrhyw fater cyssylltedig â'i ymsefydliad yn y wlad.

II. Cyfeiriadau at ddynion y gellir ymddibynu arnynt yn y rhan a fyner o'r Gogledd-Orllewin y byddo yn dewis ymweled â hi.

III. Llythyrau cyfnabyddiaeth at offeiriaid yr Eglwys a fyddont yn aros mewn un parth o'r Gogledd-Orllewin.

IV. Hwylusderau i gael gwasanaeth a gosodiadau yr Eglwys; megys tuag roddi iddo ef a'i deulu eisteddleoedd yn yr eglwys; a thrwy eu cynnysgaeddu â moddion i ymgydnabyddu â'r offeiriaid a fyddont yn gofalu am y lle.

V. Cefnogaeth; ac ym mhob modd ymddwyn tuag ato fel cyd-eglwyswr, a dangos iddo ef a'i deulu bob caredigrwydd dichonadwy.

Rhoddir isod leoedd preswylfod neu swyddfaoedd y swyddogion; a bydd yn dda gan y boneddigion hyn, a'r boneddigesau yn eu teuluoedd, bob amser ddwyn ym mlaen yr amcanion hyn o'u rhan hwy. Gobeithir y bydd i bob ymsefydlwr, ym mha amgylchiadau bynnag y bo, gefnogi gweithrediadau y Gymdeithas, trwy dderbyn o hono yn rhydd ac yn rhwydd y cymmwynasau a gynnygier iddo. Gwahoddir ymsefydlwyr i wneuthur eu hunain gydnabyddus â'r swyddogion yn bersonol, os bydd modd, neu, os bydd hyny yn anghyfleus, trwy lythyr.

Y RHAI CANLYNOL YW Y SWYDDOGION:—

*Noddwr*, The Most Reverend the Bishop of Rupert's Land, and Metropolitan, Bishop's Court, Winnipeg.—*Llywydd*, George B. Spencer, Collector of Customs, Winnipeg.

CYNGHOR.

*Winnipeg.*—The Very Rev. Dean Grisdale, B.D.; the Ven. Archdeacon Pinkham, B.D.; Rev. Canon O'Meara, M.A.; Rev. Canon Matheson, B.D.; Rev. O. Fortin, B.A., Rector of Holy Trinity; Rev. E. S. Pentreath, Incumbent of Christ Church; Rev. A. Stunden, B.A., Assistant, Holy Trinity; Rev. H. T. Leslie, B.A.; Rev. A. E. Cowley, Rector of St. James'; the Hon. the Chief Justice of Manitoba; the Hon. John Norquay, Premier of the Province; the Hon. D. M. Walker, Attorney-General; the Hon. Mr. Justice Miller; R. H. Hunter, Manager, Imperial Bank; Amos Rowe, Proprietor *Times*; Alexander Logan, Mayor; Donald Codd, Inspector, Dominion Lands.—*St. Andrew's*, Rev. R. Young, B. A., Incumbent; Captain Kennedy, J.P.; T. Truthwaite.—*Pembina Crossing*, Charles Selwyn.—*Springfield*, Rev. S. Pritchard, Incumbent;—Oldfield, William Corbett.—*Cook's Creek*, James Fullerton.—*Millbrook*, George Eadie.—*Plympton*, — Lewis. —*Clear Springs*, John Lund.—*Dynevor*, Ven. Archdeacon Cowley, B.D.; Rev. B. McKenzie, Incumbent of St. Peter's; W. Pruden; A. H. Vaughan.—*St. Paul*, Samuel James.—*St. James*, P. Bruce.—*Headingly*, Hon. W. Tait; J. Cameron.—*High Bluff*, Rev. Mark Jukes, Incumbent of St. Margaret's; J. A. K. Drummond, M.P.P.; A. Spence, J.P.—*Portage la Prairie*, Rev. A. L. Fortin, Incumbent of St. Mary's; W. J. Pratt.—*Millford*, G. S. Newcombe; Major Rogers.—*Westbourne*, Rev. Thomas Cook, Incumbent; A. E. Smalley, J.P.—*Emerson*, Rev.

C. J. Brenton, M.A., Incumbent of St. Luke's Church; J. E. Cooper: Captain Nash, County Registrar; J. Carman.—*Victoria*, J. Vincent, J.P.; W. Vincent—*Mapleton*, Rev. N. C. Martin, Incumbent of St. Clement's.—*Morris*, Rev. A. G. Pinkham, Incumbent of All Saints'; S. J. Collum; H. Hall.—*Nelsonville*, Rev. T. N. Wilson, Missionary; George Leary.—*Rapid City*, Rev. J. P. Sargent, B.A., Incumbent; Rev. W. O. Bruneau, Sioux Mission; Rev. G. Turnbull; G. Lindsay; W. Thompson.—*Brandon*, Rev. J. Boydell, M.A., Incumbent; Rev. C. B. Dundas, B.A.; Rev. C. T. Weatherley, Pultney; A. Jukes, Manager, Imperial Bank; T. M. Daly, Jun., Barrister; Richmond Spencer, M D.; J. W. Willis, Banker; George E. Fortier; Eustace Bucke.—*Stonewall*, Rev. W. F. Green, Curate-in-Charge.—*Derford Point*, Rev. George Aitkens, B.A., Missionary.—*Fairford*, Rev. George Bruce.—*Touchwood Hills*, Rev. Gilbert Cook.—*Fort Frances*, Rev. Robert Phair, Alberton.—*Keematin*, Rev. J. Render, Devon; Rev. B. Spence, Islington; Rev. J. Irvine, Lac Seul.—*Stodderville*, W. Winram, M.P.P.—*Birtle*, Lawrence Herchmer.—*Shell River*, Col. Boulton.—*Holland P.O.*, Conway Dobbs.—*Beaconsfield*, John Hall; J. Ashby.

PWYLLGOR GWEITHREDOL.

*Winnipeg.*—Rev. Canon O'Meara, M.A., St. John's College; Dean Grisdale, B.D., St. John's College; Rev. Canon Matheson, B.D., St. John's College; Rev. S. Pritchard; Rev. O. Fortin, B.A., Holy Trinity; Ven. Archdeacon Pinkham, B.D., Superintendent of Education; Hon. C. Inkster, Sheriff of the Province; W. G. Fonseca, Broker; G. F. Carruthers, Broker; J. H. Brock, Broker; A. H. Whitcher, Dominion Land Agent; W. R. Nursey, Provincial Auditor, Government Offices; J. H. Rowan, Engineer, C.P.R.; S. Mulvey, Collector Inland Revenue; George P. Black, Canadian Pacific Railway; Palmer Clarke; Captain Howard.—*St. James*, R. Tait, J.P.—*Stoney Mountain*, S. L. Bedson, Warden Provincial Penitentiary.

YSGRIFENYDD A THRYSORYDD.

*Winnipeg.*—William Leggo, Master in Equity.

YSGRIFENYDD CYNNORTHWYOL.

*Winnipeg.*—G. Byron Philip, Barrister.

YSGRIFENYDD GOHEBOL.

*Brandon.*—Loftus M. Fortier, Commission Merchant.

GORUCHWYLWYR OFFEIRIADOL YN LIVERPOOL.

Rev. J. Bridger and Rev. R. O. Greep. St. Nicholas' Parish Church.

Gall ymsefydlwyr gael pob gwybodaeth yn swyddfa W. G. Fonseca. Esq., No. 495, Main Street, Winnipeg.

## 4. COLEG AMAETHYDDOL ONTARIO, A'I DYDDYN YMBROFIADOL.

Derbynir Ymgeisiadau yn fynych ar ran boneddigion ieuainc y rhai a ddymunant ymgymhwyso i lafurwaith amaethyddol, ond heb fod ganddynt brofiad ymarferol. Y mae dau gylch o efrydion yn agored i'r cyfryw rai:—

1. Myned trwy gylch o addysg yng Ngholeg Amaethyddol Ontario. Rhaid myned trwy arholiad mewn pethau elfenol wrth fyned i mewn. Rhaid na bo yr ymgeiswyr dan bymtheg oed. Y tâl yw £10 y flwyddyn. Y mae y myfyrwyr yn talu am eu hymborth a lletty eu hunain, yr hyn nid yw yn ddrud. Telir hwynt am eu gwaith ar Dyddyn y Coleg, yr hyn a ysgafnhâ draul cynnaliaeth. Nis gall ond cant o aelodau breswylio yn weithredol o fewn y Coleg, ond gwneir hwylusdod i'r cyfryw fyfyrwyr ag na byddo lle iddynt, i fyrddio allan o dan arolygiad. Y maent yn dysgu gwybodaeth ymarferol yn gystal a damcaniadol o amaethyddiaeth. Dechreu y termau yn Ebrill a Hydref ym mhob blwyddyn. Ymofynion yng nghylch derbyniad, etc., a ddylid eu cyfeirio at y Llywydd, Coleg Amaethyddol Ontario, Guelph, Canada.

2. In yr holl amgylchiadau hyn, modd bynnag, dylid arfer llawer o ofal wrth benderfynu pa un a yw y dynion ieuainc yn gyfaddas i'r gwaith a gynnygir. Y mae gwaith caled yn anghenrheidiol, a dichon y rhaid iddynt yn fynych newid yn hollol eu dull o fyw—mewn gwirionedd, rhaid iddynt yn ystod yr amser hwnw ddyfod yn weithwyr amaethyddol. Y mae llawer o ddynion wedi myned allan dan y cyfryw amgylchiadau gydag effeithiau da yn deilliaw o honynt, ond y mae ereill wedi methu, o herwydd nad oeddynt yn iawn ddeall ammodau bywyd yn y trefedigaethau. Dylid cymmeryd cynghor gan un o oruchwylwyr y Llywodraeth cyn cyflawn benderfynu y mater.

---

## PENNOD V.

## TRAUL Y DAITH I CANADA, A HYFFORDDIANT CYFFREDINOL.

**1. Yr amser goreu i gychwyn i Canada ydyw yn ystod mis Ebrill.**

Gwedi penderfynu myned, dylid agor gohebiaeth â Chwmpeini yr agerlongau perthynol i'r llinell y bwriedir myned ar hyd-ddi, a sicrhau ei le yn y llong.

Rhoddir tocynau *trwyol* (neu rai dros yr holl daith ar fôr a thir) gan holl gwmpeiniau yr Agerlongau i bob lle o bwys yn Canada, a dylid yn wastad ofyn am danynt. I'r sawl na byddont wedi perfynu myned i ryw fan neill-

duol ceir naill ai Montreal, Toronto, Hamilton, London, neu Winnipeg, yn ganolbwynt cyfleus, a rhydd Goruchwylwyr y Llywodraeth bob hyspysrwydd rhesymol a chynnorthwy a fyddo yn ofynol.

Nid oes mordeithiau rhydd i Canada. Y mae hyspysleni hwylio gwahanol Gwmpeiniau yr Agerlongau, i'w cael ond gofyn am danynt (gweler yr adran nesaf) yn cynnwys pob peth perthynol i'r amserau y bydd yr amrywiol longau yn ymadael, pris y fordaith, a phob gwybodaeth anghenrheidiol arall. Y mae y pris am gyrhaedd Canada yn amrywio o bryd i bryd, ond gellir bob amser gael gwybod y prisiau a fyddont ar gerdded wrth yr hyspysiadau a welir yn y newyddiaduron dyddiol. Y mae y llywodraeth yn cynnyg cynnorthwy tuag at fordaith rhai mathau o bobl, sef gweithwyr amaethyddol a'u teuluoedd, a gwasanaeth-ddynion. Rhydd Cwmpeiniau yr Agerlongau a Goruchwylwyr y Llywodraeth wybodaeth mewn perthynas i'r rhai hyn. Gellir dywedyd fod rhai o Gwmpeiniau y Rheilffyrdd yn cynnyg teithlogau is na'r rhai arferol i'r porthladdoedd lle byddo yr ymfudwyr yn cymmeryd llong, os byddant yn myned i Canada. Gellir cael gwybod am y pethau hyn ond ymofyn yn swyddfa tocynau un o'r rheilffyrdd.

Rhaid talu am y fordaith i Gwmpeiniau yr Agerlongau, neu i'w goruchwylwyr, ac nis gellir cael y cynnorthwy ond yn unig trwy lenwi y ffurfiau i'r perwyl hwnw. Ceir y ffurfiau hyn gan Oruchwylwyr y Llywodraeth (gweler isod), a chan Gwmpeiniau yr Agerlongau. Y mae y llongau y rhai y gellir cael y cynnorthwy i fyned gyda hwynt, yn hwylio o Lerpwl, Bristol, Glasgow, Belfast, Londonderry, Galway, a Queenstown. Y rhai canlynol yw y ffurfenwau masnachol neu eu goruchwylwyr yn y lleoedd a enwir uchod :—

LIVERPOOL.—Allan Brothers and Co., 19, James St.; Flinn, Main, and Montgomery, 24, James St.; The Canada Shipping Company, 21, Drury Buildings, Water Street.
LLUNDAIN.—Temperleys, Carter, and Darke, 21, Billiter Street, E.C.
BRISTOL.—Mark Whitwill and Son, The Grove.
GLASGOW.—J. and A. Allan, 70, Great Clyde Street.
LONDONDERRY and GALWAY: Allan Brothers and Co.
QUEENSTOWN.—James Scott and Co.
BELFAST.—Flinn, Main, and Montgomery (Mr. Gowan, Agent).

Ceir tocynau iseledig gan y neb a fyner o'r personau

hyn, ac y mae goruchwylwyr ganddynt braidd ym mhob tref a phentref ym Mhrydain Fawr. Gellir cael llabedau i'w rhoi ar y teithglud gan Oruchwylwyr yr Agerlongau.

Ymholir yn fynych a oes dim rhyw gyfundrefn ar waith trwy yr hon y gellir cael arian gan y Llywodraeth ar gyfer mordaith gwŷr gwaith a gorchwyl, megys y rhai y cyfeirir atynt yn y ddosran hon, i'w talu yn ol wedi cyrhaedd Canada. Cystal, gan hyny, yw dywedyd yn eglur nad oes un. Yn ol Cyfraith Tir yr Arglwyddiaeth gellir gwystlo y rhad roddion o dir ym Manitoba a'r Gogledd-Orllewin i gwmpeiniau neu bersonau a roddont fenthyg arian i ymfudwyr. Rhaid i'r benthygiadau hyn beidio â bod dros £100, ac ni ellir gofyn mwy na chwech y cant o log. Rhaid talu y teithlogau i gwmpeiniau yr Agerlestri cyn myned o'r ymfudwyr ar eu bwrdd.

Rhaid i deithyddion perthynol i barth ol y llong ddarparu dillad gwelyau, a rhai llestri a ofynir ar fwrdd y llong, y rhai a enwir yn hyspysleni Cwmpeiniau yr Agerlongau. Gellir eu prynu yn y porthladd y cychwynir o hono, neu eu llogi i'r fordaith, gan rai llong-llinellau, am ychydig sylltau, heb fod eisieu i'r teithydd ofalu ond am ddilledyn gwely (gwrthban neu huling) yn unig. Rhydd Cwmpeiniau yr Agerlong gyflawn gyfarwyddyd am y pethau hyn.

Heb law y swm angenrheidiol i'r daith ar y môr, ac i brynu neu logi y pethau gofynol i'w defnyddio yn ystod y fordaith, rhaid i'r ymsefydlwr dalu teithlogau y rheilffordd o Cwebec neu Halifax i'r lle y bo yn myned iddo, oddi eithr yn amgylchiad gwasanaeth-ddynion, y rhai a anfonir yn rhad i unrhyw le yn nhaleithiau Cwebec neu Ontario y dymunont fyned iddo. Y canlynol yw teithlogau ymfudwyr ar y rheilffordd i rai o brif fanau gwaith yn yr Arglwyddiaeth o Cwebec:—Montreal, 6*s.*; Sherbrooke, 7*s.* 6*c.*; Ottowa, 16*s.* 6*c.*; Kingston, 17*s.*; Toronto, £1 2*s.* 6*c.*; Hamilton, £1 5*s.* 6*c.*; London, £1 19*s.*; Winnpieg (ar hyd y Canadian Pacific Railway a'r Llynau), £2 8*s.* Plant rhwng 12 a 5 mlwydd oed, hanner y pris a ofynir am danynt; y rhai dan 5 a gludir yn rhad. Y mae rheilffyrdd Canada yn cario 100 pwys o deithglud i bob teithydd mewn cyflawn oed yn ddidal; a chaniateir swm cyfartal ar gyfer plant. Dylai ymsefydlwyr hefyd fod â digon o arian ganddynt i brynu

lluniaeth, etc., am ychydig ddyddiau nes y dechreuont ennill cyflog.

**2. Swyddfaoedd Arglwyddiaeth Canada ym Mhrydain Fawr:—**

LLUNDAIN.—Sir Charles Tupper, K.C.M.G., C.V., Gweinidog Rheilffyrdd a Chamlasau, ac Uchel Ddirprwywr dros yr Arglwyddiaeth, 9, Victoria Chambers, London, S.W. Mr. Joseph Colmer, Ysgrifenydd. Mr. C. C. Chipman, Ysgrifenydd Cynnorthwyol a Chyfrifydd.

**3. Goruchwylwyr Llywodraeth Canada yn Canada:—**

OTTAWA.—Mr. W. J. Wills, Wellington Street, Ottawa, Ontario.
TORONTO.—Mr. J. A. Donaldson, Strachan Avenue, Toronto, Ontario.
MONTREAL.—Mr. J. J. Daley, Bonaventure Street, Montreal, Province of Quebec.
KINGSTON.—Mr. R. Macpherson, William Street, Kingston.
HAMILTON.—Mr. John Smith, Great Western Railway Station, Hamilton.
LONDON.—Mr. A. G. Smyth, London, Ontario.
HALIFAX.—Mr. E. McClay, Halifax, Nova Scotia.
ST. JOHN.—Mr. S. Gardner, St. John, New Brunswick.
QUEBEC.—Mr. L. Stafford, Point Levis, Quebec.
DULUTH (Minnesota).—Mr. McGovern.
WINNIPEG.—Mr. W. B. C. Grahame, Winnipeg, Manitoba.
DUFFERIN.—Mr. J. E. Tétu, Dufferin, Manitoba.
BRANDON.—Mr. Thomas Bennett, Railway Station, Brandon, Manitoba.
PORT ARTHUR.—Mr. M. J. McGovern.
VICTORIA, B.C.—John Jessop.

Rhydd y swyddogion hyn y cyngor a'r amddiffyniad cyflawnaf. Dylid ymofyn ar unwaith am danynt pan gyrhaedder pen y daith. Dylid cyfeirio pob cwynion atynt hwy. Rhoddant hefyd hyspysrwydd gyda golwg ar y tiroedd agored i ymsefydlu ynddynt yn eu gwahanol daleithiau a'u rhandiroedd, tyddynau ar werth, y gofyn am waith, maint cyflogau, y ffyrdd i deithio, pellderau, treuliau cludiad; a derbyniant ac anfonant lythyrau ac arian i'w trosglwyddo i ymsefydlwyr, etc., etc.

*Offeiriaid mewn Plwyfau gyda Glan y Môr yn Gweithio ar ran Ymfudwyr.*

*Porthladd Lerpwl.*—Rev. J. Bridger, Rev. R. O. Greep. St. Nicholas' Church.

*Porthladd Llundain.*—Royal Victoria and Albert Docks: St. Luke's and St. Matthew's, Rev. J. O. Bagdon. East India and West India and Millwall Docks: St. Luke's, Millwall, Rev. J. Hewlett, Vicarage; Rev. F. Hasloch, Alpha Road.

*Gravesend.*—Holy Trinity: Rev. Canon Scarth, Vicarage; Rev. F. C. Naish, 9, The Terrace; Rev. Anton Tien, 1, Cumberland Terrace. Tilbury Parochial Mission for Dock and Railway: Rev. F. C. Naish, Missionary Curate; Rev. A. E. Clementi-Smith, Rector. *Y mae llawer o ymfudwyr yn cymmeryd llong o Tilbury Station.*

*Plymouth.*—Holy Trinity; Rev. F. Barnes, Holy Trinity Vicarage, Hoe Street.

*Bristol.*—Rev. C. W. Holland, Shirehampton, Bristol.

*Southampton.*—Rev. C. D. Kebbell, St. James'.

*Barrow-in-Furness.*—Rev. A. B. Crosse, St. George's.

*Hull.*—Rev. S. Allwood, Mariners' Church.

*Glasgow.*—Rev. J. C. Brooke, Wellfield House, Springburn, Glasgow.

*Greenock.*—Rev. J. Trew, 61, Union Street, Greenock.

*Londonderry.*—Rev. F. L. Riggs, 33, Clarendon Street, Derry.

*Queenstown.*—Rev. W. Daunt.

*Sligo.*—Rev. T. Heany.

*London.*—Rev. W. Pauckridge, St. Matthew's, City Road; Rev. Dr. Ross, St. Philip's, Stepney, E.; Rev. A. Styleman Herring, St. Paul's, Clerkenwell; Rev. R. C. Billing, The Rectory, Spitalfields; Rev. J. H. Bodily, St. Mark's, Silvertown, London Docks; Rev. C. W. T. Roberts, Gothic House, St. Ann's Road, Stamford Hill, N.; Rev. Charles Bull, St. John's, North Woolwich.

---

*Offeiriaid ac Ereill yn America yn Gweithio ar ran Ymfudwyr.*

*New York.* — Rev. Cornelius L. Twing, 66, Cooper Avenue, Brooklyn, E.D.

*Manitoba.*—Emerson: Rev. C. J. Brenton. Winnipeg: Very Rev. Dean Grisdale, Archdeacon Pinkham, and all the Clergy; W. Leggo, Esq. Rapid City: Rev. J. P. Sargent. Brandon: Rev. J. Boydell, L. M. Fortier, Esq.

(Annogir Offeiriaid ac ereill hefyd i ysgrifenu at W. Leggo, Esq., Secretary-Treasurer of the Church of England Settlers' Society, Winnipeg, Manitoba, Canada.)

*Quebec.*—Rev. M. M. Fothergill.

*Montreal.*—Rev. R. Lindsay, 278, Dorchester Street.

---

YSGRIFENYDD TREFNIADOL A CHYFFREDINOL.

Rev. J. Bridger, St. Leonard's Church, Liverpool:

Yr hwn, hyd y bo modd, a etyb ymholiadau a gyfeirier ato gan rai yn bwriadu ymfudo, neu gan Offeiriaid drostynt.

---

## PENNOD VI.

## AWGRYMAU SYML I GADW IECHYD.

1. **Gwyntylliad eich Tŷ.**— Y mae cyflawnder o awyr iach yn anghenrheidiol i iawn weithrediad yr ysgyfaint ac i'r gwaed. Golyga gwyntylliad y gelfyddyd o ddarparu digon o awyr iach heb dynfa gwynt. Os nad oes genych

ond un ystafell, cofiwch bob amser agor y ffenestr ac awyro yr ystafell yn dda cyn myned i'r gwely, yn enwedig os ydych wedi bod yn mygu tybacco. Yn ystod y rhan fwyaf o'r flwyddyn gellwch agor y ffenestr ychydig trwy gydol y nos, od oes genych fodd i roddi i chwi eich hunan a'r wraig a'r plant ddigon o ddillad, ond na adewch i'r gwynt chwythu arnoch. Os byddwch yn clywed y dynfa yn ormod gyda'r ffenestr yn agored yn y pen uchaf, hoeliwch ddarn o bren, ar osgo, gyda brig y ffenestr, ac yn cyrhaedd tair neu bedair modfedd uwch law iddi; agorwch y ffenestr ryw fodfedd neu ddwy, a thery yr awyr neu wynt yn erbyn y pren osgoawl wrth ddyfod i mewn, a chyfeirir ef tua phen yr ystafell, ac ni theimlir mo hono. Os dygwydd fod genych le tân nad ydych yn ei ddefnyddio yn yr haf, peidiwch byth â'i gau i fyny: y mae y simnai yn wyntyllydd da; hefyd peidiwch byth â chau y cymmesurydd, od oes genych y cyfryw yn rheoleiddio tynfa'r tân.

2. **Glanweithdra eich Ystafelloedd.**—Nis gall awyr yr ystafell byth fod yn bur, os bydd yr ystafell ei hun yn fudr. Dylid ysgubo ystafelloedd heb lorlen yn ofalus bob dydd, ond nid eu golchi yn rhy fynych, gan fod y coed neu briddfeini yn llyncu ac yn cadw dwfr ynddynt am beth amser, ac felly yn gwneuthur yr awyr yn llaith ac yn oer. Golchwch hwynt ar dywydd sych cynhes, pryd y gellir cyflawn agor y ffenestri. Ond y mae yr ammhurdeb mwyaf yn fynych yn cael ei achosi, modd bynnag, gan y gwely neu'r dodrefn. Gofelwch yn neillduol fod y rhai hyn yn cael eu sychu a'u cadw yn lân; dylid cyflawn ddynoethi holl ddillad y gwely a'r matras am awr o amser bob bore, a'r gwrthbanau gael eu hysgwyd.

3. **Glanweithdra a Sychder o gylch eich Tŷ.**—Na oddefwch i grugiau o ysgubion neu yspwrial fod yn agos i'ch tŷ. Nis gall yr awyr fod yn bur, os bydd y pethau hyn yn gysson yn peri aroglau drwg ynddi. Y mae lle'r lludw yn fynych wedi ei osod lle na ddylai mewn tai, a gwaghëir ef yn rhy anfynych. Dylai creifion bwytatwys, codau ffa, a gweddillion bwyd, gael naill ai eu llosgi ai eu rhoi o'r neilldu ar gyfer y mochyn neu'r ieir. Dylid taflu holl olchion budron y tŷ ar hyd yr ardd, ac nid eu gadael i suddo dan y tŷ. Y mae y dwfr hwn yn cynnwys defnyddiau bywydol neu beiriannol y rhai sy ffrwythlonol, ac y mae gwedillion y sebon a ddefnyddir yn y tŷ hefyd

yn dra llesol i lysiau. Os gellir cael baril fawr, a thaflu'r dwfr brwnt iddi, gellir dyfrhau yr ardd o bryd i bryd. Gofelwch na bo gwlaw o'r bargod yn suddo dan y tŷ, neu yn lleithio'r gwelydd.

4. **Awgrymau am y Dwfr a Ddefnyddir.**—Os rhaid i chwi gyrchu y dwfr o bell, a'i ystorio yn y tŷ, peidiwch byth â'i gadw mewn celyrnau neu bedyll agored. Y mae yn sicr o fyned yn fudr; syrth llwch iddo, a thyna iddo sylweddau o'r awyr. Y mae coed hefyd yn myned yn feddal, a gall wneuthur y dwfr yn amhur. Rhowch ef mewn llestri pridd â golch arnynt, neu lestri maen, â chauad iddynt. Mae'r llestri hyn yn rhad a chelyd; ac yn awr a phryd arall tywelltwch yr holl ddwfr o honynt, a sychwch y tu mewn iddynt â chadach glân. Os yw y dwfr o ffrwd ar wyneb y tir, neu o bydew neu ffynnon fas, tebygol y bydd yn ddwfr meddal, ac yr effeithia ar fettel-oedd. Os felly, na ddefnyddiwch lestri mettel ym mhellach na bo raid i chwi. Defnyddiwch lestri haiarn i drin bwyd, ac os bydd eisieu eu cyweirio, gofelwch na chyweirier mo honynt â sawdr plwm, yr hwn y gall y dwfr ei feddalu a'i ddattod. Y mae llawer wedi cael eu gwenwyno gan sawdr plwm yn y modd hyn. Gyda'r fath ddwfr pludd neu feddal, na ddefnydier hyd yn oed llestri sinc, ond tyner ef mewn celyrnau coed, ac ystorier ef mewn ystenau maen.

5. **Y Modd i Wneuthur Hidlor.**—Nid peth anhawdd ydyw hidlo dwfr, ïe, os na ellwch fforddio i brynu hidlor rheolaidd. Gellir gwneuthur hidlor syml i buro dwfr fel y canlyn:—Ceisiwch bot pridd cyffredin, y fath ag a arferir mewn gerddi i ddal blodau; gorchuddiwch y twll â thipyn o niwlwe sinc, neu dipyn o wlanen wedi ei golchi yn lân, yr hwn a ddylid ei newid o bryd i bryd; yna ceisiwch raian lled fân, golchwch ef yn lân lân, a rhoddwch ef yn y pot i uchder 3 modfedd; yna ceisiwch ychydig o dywod gwyn a golchwch ef yn lân loew, a dodwch ef ar y graian i uchder 3 modfedd; yna prynwch 2 bwys o olosg anifeil-aidd, golchwch hwnw hefyd trwy ei ddodi mewn llestr penagored megys cunnach neu grothogen, a thywallt dwfr berw arno; yna, pan fyddo'r golosg wedi gwaelodi, tywelltwch y dwfr ymaith a rhoddwch ddwfr arall arno dair neu bedair gwaith. Gwedi cael o'r golosg ei olchi yn dda, dodwch ef ar y tywod, a gwesgwch ef i lawr yn dyn.

Bydded genych 4 modfedd o olosg, os bydd modd. Y mae yr hidlor weithian yn barod, tywelltwch ddwfr i'r pot, a gadëwch iddo redeg trwy'r twll i botel wydr fawr. Ym mhen amser bydd y golosg wedi tagu, neu fyned yn fudr. Cymmerwch ymaith ychydig o'r wyneb a berwch ef ddwy waith neu dair, ac yna taenwch ef, a gedwch iddo sychu o flaen y tân. Yna efe a fydd gystal ag erioed. Os oes genych ddyfrgist neu gerwyn i dderbyn dwfr gwlaw, hidlwch y dwfr gwlaw cyn ei ddefnyddio i'w yfed; canys cesglir dwfr gwlaw yn fynych o benau tai budron, neu ynte try yn ammhur yn y ddyfrgist.

6. **Pa beth i'w Yfed.**—Os ydych am gadw iechyd da hyd henaint, na chyffyrddwch â gwirodau poethion. Nis gall dim fod yn well i chwi a'ch teulu na llaeth wedi tynu ei hufen ar giniaw a swper. Da yn wastad yw ei ferwi, ac y mae ychydig siwgr yn ei wneuthur yn fwy dymunol fyth. Pan y byddoch wedi bod wrth ryw waith caled, na chymmerwch na chwrw, nac osai, na gwirodau. Y ddiod oreu o lawer yw blawd ceirch a dwfr teneu gydag ychydig o siwgr. Dylid rhoddi hanner pwys o flawd ceirch i ddau neu dri chwart o ddwfr, yn ol gwres y dydd, a'ch gwaith chwithau a'ch syched. Dylid ei ferwi yn dda, a rhoddi ynddo wns neu wns a chwarter o siwgr llwyd. Os dygwydd fod yn dewach nag y dymunech, cymmerwch dri chwart o ddwfr. Cyn ei yfed ysgydwch ef fel yr ymgymmysgo y blawd ceirch â'r dwfr. Yn yr haf yfwch ef yn oer; yn y gauaf, yn dwym. Cewch weled ei fod nid yn unig yn tori syched, ond yn rhoddi i chwi fwy o nerth a goddefgarwch nag un ddiod arall. Os na ellwch ei ferwi, gellwch gymmeryd ychydig flawd ceirch wedi ei gymmysgu â dwfr oer a siwgr; ond nid yw hwn gystal a'r llall. Berwch ef bob amser os gellwch. Os dygwydd fod eisieu i chwi wneyd diwrnod maith iawn, megys yn y cynhauaf, ac heb allu aros am brydiau, chwanegwch y blawd ceirch i ½ pwys, neu hyd yn oed ¾ pwys, a'r dwfr i 3 chwart, os ydych yn debygol o fod yn bur sychedig. Os na ellwch gael blawd ceirch, gwna blawd neu fflwr gwenith y tro, ond nid yn llawn gystal. Camsyniad hollol yw meddwl fod gwirodau yn rhoi grym a nerth; rhoddant ysponc neu gyffro i ddyn, ond â hyny ymaith, ac os cymmerir mwy na hyn a hyn, y maent yn lleihau y nerth i weithio.

7. **Ymborth.**—Y mae llawer math o ymborth llysieuol neu dyfol, megys blawd ceirch, yd yr India, pys, a ffa, yn cynnwys yn agos cymmaint o ymborth i ffurfio cnawd ag y sy mewn cig; ac, os byddant wedi eu coginio yn iawn, gwnânt y tro fel ymborth iachus a dymunol yn ei le. Gellid gochel gwastraff a gormodedd, a cheid llawer mwy o hyfrydwch mewn ymborth, pe cymmerid trafferth i ddysgu pa fodd i goginio rhai o'r pethau syml hyn.

8. **Geudai.**—Un o'r fath oreu o dai bach yw rheitty pridd. Cystal rheitty i gotty, neu dy bychan cyffredin, ag un ydyw celwrn sinc yn dyfod i fyny yn bur agos at astyllen yr eisteddle, gyda chlust neu ddyrntol fel y galler ei godi i fyny. Dylai wyneb pren yr eisteddle gael ei wneuthur â cholfach ynddo, modd y galler ei godi a symmud y celwrn a'i arllwys o bryd i bryd. Ychydig iawn o bridd sydd angheurheidiol, os na theflir dwfr neu olchion i'r celwrn, a gellir taflu'r pridd i mewn â rhaw. Dylai fod yn gwbl sych. 'Yn amser gauaf dylid ei sychu dan y tân cyn ei ddefnyddio. Gellir rhoi cynnwysiad y celwrn mewn pwll yn yr ardd, ac wedi hyny ei ddefnyddio yn wrtaith. Y mae pob lleoedd o'r fath hyn, yr un fath â rheittai â dwfr yn myned trwyddynt, yn gofyn sylw ac yn peri peth trafferth; ond rhaid ei fod ef y mwyaf esgeulus o holl farwolion daiar, yr hwn, mewn peth o gymmaint pwys er mwyn iechyd, yr hwn ni rydd hanner awr o waith bob wythnos i gadw glanweithdra, ac mewn gwirionedd ni ofynir ychwaneg na hyn.

---

Attodiad A.

## LLYTHYR CANMOLIAETH.

Reverend and Dear Sir,

I desire herewith to commend to your pastoral care and brotherly good offices, ______________
from the Parish of ______________ in the Diocese of ______________
who is about to settle in ______________
And I certify that ______________
______________

Dated this ______________

Bernir mai dymunol fyddai i unrhyw offeiriad a roddo lythyr canmoliaeth i un o'i blwyfolion, adysgrifenu y llythyr â'i law ei hun, yn hytrach na defnyddio y ffurf argraffedig; a thebygol y byddai y llythyr yn werthfawrocach fyth, ac ond odid yn fwy defnyddiol, ped ysgrifenid ef ar gefn darlun o eglwys y plwyf neu o eglwys gadeiriol yr esgobaeth, neu fod y cyfryw ddarlun yn gyssylltedig ag ef.

Attodiad B.

# GWEDDÏAU ER GWASANAETH YMFUDWYR.

## BOREOL WEDDI.

Yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Yspryd Glân. Amen.

Arglwydd, cymhorth fi i weddïo.

Y graslonaf a thrugarocaf Dduw, yr wyf yn dy addoli gyda dwysaf ostyngeiddrwydd fy enaid a'm corff. Pob diolch a moliant a fyddo i Ti am ddiogelwch, gorphwysdra, ac adfywiad y nos a aeth heibio, ac am fywyd adnewyddol dydd arall. Bendigedig uwch pob dim a fyddo Dy Enw Sanctaidd am Dy Addewidion am faddeuant ac iachawdwriaeth, am ras a daioni yng Nghrist Iesu. Cyflawna yr addewidion hyn i mi y dydd heddyw, yr wyf yn atolygu yn ostyngeiddiaf arnat.

Na wnâ â mi yn ol fy anwireddau, ond bydd drugarog wrthyf, a gwared fi oddi wrth euogrwydd a grym pechod. Dyro i mi wir ffydd yn yr Arglwydd Iesu, a heddwch a llawenydd mewn crediniaeth.

Preswylied dy Yspryd Sanctaidd ynof, yn Yspryd doethineb a deall, yn Yspryd cynghor ac ysprydol nerth, yn Yspryd gwybodaeth a gwir dduwioldeb.

Bendithia fi, O Dduw grasusol, yn fy ngalwedigaeth, a chynnorthwya fi i wneuthur fy nyledswydd gyda ffyddlondeb, ym mha waith bynnag y rhyngo bodd i Ti fy ngosod. Bydd agos ataf i'm cadw ym mhob peryglon a phrofedigaethau. Cynnal a chysura fi ym mhob pryder, gofal, a thrallod. Darpara ar gyfer fy holl anghenrheidiau, anghenrheidiau'r corff yn gystal a'r enaid.

Boed i mi dy gofio Di trwy gydol y dydd, a llefaru a gweithredu bob amser megys yn Dy olwg. Cymhorth fi i fod yn sanctaidd ac yn gyfiawn, yn drugarog ac yn ostyngedig, ac yn siriol ac yn foddlawn. Bydded fy sefyllfa yn fendith a'm hymddygiad yn llesol i'm cymmydogion ac yn gymmeradwy yn Dy olwg Di.

Bendithia fy anwyl gyfeillion a charedigion oll, yn enwedig [ ]. Cymhorth a chysura y cleifion, y galarus, yr anghenog, a'r hwn nid oes cynnorthwywr iddo. Boed dy drugaredd a ddêl ar yr holl Eglwys, yn enwedig ar y rhan honno o honi yr wyf fi yn perthyn iddi. Llwydda y wlad yr wyf yn trigo ynddi ; ac estyn Dy drugaredd a'th ddaioni i'r holl genedloedd. Clyw fi, Arglwydd, yn fy ngweddïau hyn a'm diolchiadau, ac ateb fi yn ol Dy ddoethineb a'th gariad, er mwyn Iesu Grist ein Hiachawdwr. Amen.

Ein Tad, yr hwn wyt yn y nefoedd; Sancteiddier dy Enw. Deued dy deyrnas. Bydded dy ewyllys ar y ddaear, Megys y mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, Fel y maddeuwn ni i'n dyledwyr. Ac nac arwain ni i brofedigaeth ; Eithr gwared ni rhag drwg ; Canys eiddot ti yw'r deyrnas, A'r gallu, A'r gogoniant, Yn oes oesoedd. Amen.

Gras ein Harglwydd Iesu Grist, a chariad Duw, a chymdeithas yr Yspryd Glân, a fyddo gyda ni oll byth bythoedd. Amen.

## PRYDNAWNOL WEDDI.

Arglwydd, cymhorth fi i weddïo.

Hollalluog a thrugarocaf Dduw, ynot Ti yr ydym yn byw, yn symmud, ac yn bod. Tydi, yn dy gariad, a agori Dy law, ac a ddiwelli bob peth byw â'th ewyllys da.

O'th ddaioni anhaeddedig cadwyd fi gorff ac enaid trwy ddiwrnod arall. Gogoniant ac anrhydedd a fo i Ti am holl fendithion rhagluniaeth a gras y rhai a roddaist i mi o fore hyd yr hwyr.

Nid wyf yn rhyglyddu y lleiaf o'th holl drugareddau di; canys y mae fy mhechodau yn llefain i'm herbyn. O na byddai genyf wir ac iawn ymsyniad arnynt, a chyffesu o honof hwynt gyda gostyngeiddrwydd a thristwch. Yr ydwyf y dydd heddyw wedi bod yn ddiffygiol yn fy nyledswydd atat Ti ac at fy nghymmydog. Mewn llawer o bethau mi a wnaethym yn erbyn Dy sancteiddiol gyfraith. Y mae fy holl esgeulusdra a'm hanwybod; fy holl feiau a'm pechodau, ger dy fron Di. Trugarhâ wrthyf, O Dduw, canys yn dy erbyn Di y pechais, ac y gwnaethym y drwg hwn yn Dy olwg.

Dyro i mi dynerwch cydwybod, a chrea ynof wir edifeirwch. Dymunwn ddadleu dy addewidion am faddeuant, dymunwn roddi fy holl ymddiried yn Dy drugaredd yng Nghrist Iesu. Er ei fwyn Ef maddeu fy anwiredd, canys mawr yw. Bydded ei werthfawr waed, yr hwn sy'n glanhau oddiwrth bob pechod, fod yn effeithiol i olchi ymaith fy anwireddau innau. Boed i mi, trwy ei haeddedigaethau Ef, fwynhau heddwch cydwybod a heddwch â Thydi, yn awr pan yr wyf ar fyned i orwedd ac i orphwys.

Dygaist fi ddiwrnod arall ym mlaen yn fy mywyd, ac yr wyf un diwrnod yn nes i'r diwedd. Dysg i mi gyfrif fy nyddiau, fel y dygwyf fy nghalon i ddoethineb. Gwna fi bob amser yn ystyriol o'r cyfrif difrifol a raid i mi cyn hir ei roddi ger bron brawdle Crist. Pa bryd bynnag y delo awr fy marwolaeth, O am gael huno yn yr Iesu! Gosoder fy nghorff yn ei wely tywyll mewn gobaith o adgyfodiad gogoneddus, ac ehedecl fy enaid i wlad goleuni, i fyw gyda Thi mewn anfarwol sancteiddrwydd a dedwyddyd.

Arglwydd, nid wyf deilwng i ofyn dim drosof fy hun na thros ereill; eto mi a atolygaf yn ostyngedig arnat fy ngwrandaw i megys drosof fy hun, a hefyd dros bawb y sydd anwyl genyf; dros bawb a wnaethant erioed i mi ddaioni; ïe, dros fy holl elynion. Hyspys i Ti yw anghenion pob creadur; diwalla yr anghenion hyny, mi yn ostyngedig a atolygaf i Ti, yn ol Dy allu, a'th ddoethineb, a'th ddaioni.

Cadw fi pan y bwyf yn cysgu. Amgylchyni Di fy ngorweddfa; amddiffyn fi, O Dduw, rhag pob perygl a ddygwyddo i'r corff, a rhag pob drwg feddwl a wna niwaid na chynhwrf i'r enaid. Arbed fi, os hyny yw Dy ewyllys, i weled dydd arall. Deffroi a gaffwyf i'th foliannu Di, ac i'th wasanaethu yn amgenach nag y gwnaethym erioed o'r blaen.

Rhynged bodd i Ti, o'th ddaioni a'th drugaredd, O Arglwydd, wrandaw fy ngweddïau hyn er mwyn Iesu Grist, fy unig Gyfryngwr a'm Hiachawdwr. Amen.

Ein Tad, etc.

Gras ein Harglwydd, etc.

AR Y FORDAITH, DROSOCH EICH HUNAN A'R RHAI A HWYLIANT GYDA CHWI.

Hollalluog Dduw, yr hwn yn unig a lywodraethi y gwyntoedd, a hwy a ufuddhânt i'th lais, yn drugarog clyw fy ngweddïau, a gwared fi a phawb sydd yn y llong hon rhag peryglon y môr, a rhag pob trallodus ddamweiniau. Nis gallwn waredu ein hunain rhag yr anffawd leiaf yr ŷm agored iddi: i'th ewyllys da Di a'th amddiffyn yr wyf yn

gorchymmyn fy hunan ac ereill, ein heneidiau a'n cyrff, a phob peth a berthyn i ni.

Arglwydd, maddeu ein pechodau, tro ymaith dy farnedigaeth yr ydym yn ei chyfiawn haeddu, llwydda ni yn ein mordaith, dwg ni i'n porthladd mewn heddwch, a chaniatâ i ni, yn y diwedd, gyrhaedd gwlad gorphwysfa dragywyddol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

### AR GYRHAEDD PEN Y DAITH MEWN DIOGELWCH.

Derbyn, O Arglwydd, fy niolch gostyngedig a ffyddlawn am dy drugarog gadwraeth o honof ar y fordaith (neu daith), yr hon sydd yn awr wedi dyfod i'w derfyn llwyddiannus. Dy dadol law a fu trosof, dy garedigol amgeledd a'm hamgylchynodd ddydd a nos.

O Arglwydd, par i mi fod bob amser yn gofus o hyn, ac o bob amlygiadau ereill o'th garedigrwydd a'th ddaioni i mi, Dy annheilwng was. Cynnorthwya fi, yr hwn yr awr hon a gadwyd ac a gynnaliwyd unwaith eto genyt Ti, i fynegu fy niolchgarwch trwy ddilyn buchedd sanctaidd a Christionogol, a thrwy dy ffyddlawn wasanaethu Di dros weddill fy nyddiau; trwy Iesu Grist, fy unig Arglwydd a'm Hachubwr. Amen.

### AR YMSEFYDLU MEWN GWALD NEWYDD.

Hollalluog Dduw, yr hwn a drefni derfynau ein preswylfod ac a fendithi gartrefleoedd dy bobl, yn drugarog rhynged bodd i Ti fod dy garedigol bresennoldeb gyda mi yn fy mhreswylfa newydd. Ti yw y Duw ni newidia; yma ac ym mhob man yr un ydwyt Ti. Dyro i mi sicr ymddiried a hyder ynot Ti. Boed i mi fwynhau dy fendith, yr hon sy fywyd, a'th drugaredd, yr hon sydd well na'r bywyd.

Dyro i mi wroldeb a siriolder, amynedd a gobaith. Yn holl amser unigrwydd, digalondid, a phryder, bydded fy ngoglud arnat Ti. Cadw fi rhag grwgnach ac anghrediniaeth, ac anghofio honot Ti. Bydded i mi dy osod Di, Arglwydd, bob amser ger fy mron. Er ym mhell oddi wrth yr attal fëydd a'm hamgylchent yn fy nghartref gynt, eto boed i mi fod ar fy ngwyliadwriaeth rhag pob peth a fyddo yn dy ddianrhydeddu Di, ac yn dy anfoddloni. Cadw a wnelwyf ystyriaeth o Dduw ac o grefydd ym mhob lle ac ym mhob cymdeithas. Na foed byth yn gywilydd genyf na Thydi na'th wasanaeth.

Llwydda fi ym mhob peth cyfreithlawn yr ymaflwyf ynddo; caniatâ i mi bob peth a berthyn i fywyd a duwioldeb; dyro i mi iechyd corff ac iechyd enaid. Cynhorth fi i fod yn foddlawn ac yn ddiolchgar ym mhob amgylchiad. Sancteiddia i mi y llwyddiant yn gystal a'r aflwyddiant, y llafur a'r adfywiant, y rhai a ddygwyddont yma i'm rhan. Byw a wnelwyf nid i mi fy hunan yn unig, ond i ymdrechu gwneuthur cymmaint o ddaioni ag a allaf, yn dymmorol ac yn ysprydol, i'm cymmydogion. Uwch law pob dim caniatâ i mi geisio yn gyntaf deyrnas Dduw.

O Arglwydd, bendithia a chadw fi. O Arglwydd, llewyrched dy wyneb arnaf, a dyro i mi dangnefedd yr awr hon ac yn dragywydd, trwy Iesu Grist fy Iachawdwr a'm Gwaredydd. Amen.

Ein Tad, etc.

Gras ein Harglwydd, etc.

---

PRINTED BY WILLIAM CLOWES AND SONS, LIMITED, LONDON AND BECCLES.